# HYMNAU

ER

# Gwasanaeth yr Eglwys

## YN NGHYMRU.

GYDAG

## ATTODIAD.

WEDI EU DETHOL A'U TREFNU GAN

Y PARCH. DANIEL EVANS, D.D.,

FICER CAERNARVON, CANON MYGEDOL BANGOR, A CHAPLAN
YR ANRHYDEDDUSAF ARDALYDD LONDONDERRY

Llundain:

NOVELLO, EWER & CO., 1, BERNERS STREET, W.
AND 80, QUEEN STREET, CHEAPSIDE.

J. HADDON & CO., 3, BOUVERIE STREET,
FLEET STREET.

1883.

## CYNNWYSIAD.



## NWYSIAD YR ATTODIAD.

---

## HYMNAU ACHLYSUROL.

# MYNEGAI.

# ATTODIAD

---

# Adfent.

M. N. 7.6.

DYSGWYLIAIS wrth yr ARGLWYDD,
Yn ebrwydd daeth o'r nef;
O'r pydew gwnaeth fy nghodi—
Yn llwyr fe glybu'm llef:
Fy nhraed ar graig gosododd,
Yn mlaen fe'm hwyliodd i,
Rhoes yn fy ngenau hefyd
Gân hyfryd i'n DUW ni.

i glywsom lais oddi uchod—
"'Rwy'n dyfod," medd Oen DUW
Yn rhôl ysgrifeniadau
"Y gwirioneddau gwiw;
)y gyfraith sy'n fy nghalon"—
Chwi filiau duon dewch,
biad hyd yr eitha'
r ben Golgotha gewch.

dyma'r hên addewid
gadwodd rif y gwlith
ynion wedi'u colli,
ân am dani byth

Er cael ein mynych glwyfo
Gan bechod îs y nen,
Iachêir ein holl archollion
A dail y bywiol bren. Amen.

## 2 M. N. 7.6.

1 AI gwir y trig JEHOFAH
Ar ddaear gyda dyn?
Ai gwir i DDUW ei garu
Nes dyfod ato'i Hun?
Ai gwir i'r MAB ymrwymo
I gym'ryd dynol len,
A gorwedd yn y preseb,
A marw ar y pren?

2 O! f'enaid, cân am gariad,
Ac am drugaredd râd;
A chân am fodd i olchi
Yn ganaidd yn y gwaed;
A chân am ras doethineb
Yn ngwyneb codwm mawr;
A chân am air efengyl
Sy'n dangos hono'n awr.

3 O! cân am fodd i gadw—
Mae'r Ceidwad gwedi'i gael;
Am Feddyg anffaeledig
I bechaduriaid gwael;
Am drefn i faddeu beiau
*A'r gyfraith* wrth ei bodd;
*Am le i guddio* bywyd
*Byth yn yr* Iawn a ro'dd. Ame

M. N. 8. 7. D.

GOSOD babell yn ngwlad Gosen,
  Tyred, ARGLWYDD, yno'th Hun;
Gostwng o'r uchelder goleu,
  Gwna dy drigfan gyda dyn;
Trig yn Seion, aros yno,
  Lle mae'r llwythau'n d'od yn nghyd;
Byth na 'mâd oddiwrth dy bobol
  Nes yn ulw'r elo'r byd.

Blinais ar afonydd Babel—
  Nid oes yno ond wylo i gyd;
Swn telynau hyfryd Seion
  Sydd yn cyson ddenu 'mryd:
Tyr'd â ni, yn dorf gariadus,
  O gaethiwed Babel fawr;
Ac nes bôm ar fynydd Seion,
  N'âd in' orphwys mynyd awr.

Dacw'r Brenhin yn ei degwch,
  Wele'i Briod wrth ei glun;
Gwedd ei wyneb sy'n rhagori
  'Mhell ar wedd wynebpryd dyn;
Dyma ddydd, dydd ei ddyweddi,
  Dyma'r briodasol wledd;
Dyma'r dydd caiff pererinion
  Yfed o'i dragwyddol hedd. Amen.

M. N. 8. 7. D.

*CARIAD Dwyfol, Hedd tragwyddol,*
  *Llonder nefoedd*, tyr'd i lawr;

Ynom gwna dy drigfan ddedwydd,
  C'rona dy fendithion mawr:
IESU, 'rwyt yn llawn tosturi,
  Cariad pur yw'th Enw gwiw:
Tyr'd i lawr i'n llwyr waredu,
  Llanw ni â chariad DUW.

2 IOR Anfeidrol, tyr'd i'n gwared,
  Gâd in' bawb fwynhau dy hedd:
Yn dy demlau boed gorfoledd
  Bythol, am gael gwel'd dy wedd:
Boed ein gwaith o hyd dy foli,
  A'th was'naethu gyda blâs
Yn ddibaid, mewn mawl a gweddi,
  Fyth am gariad IESU a'i râs. Amen.

## 5 M. N.

1 DDUW mawr! pa beth a welaf draw?
  Diwedd a braw yr hollfyd;
Mi wela'r Barnwr yn nesau
  Ar glaer gymylau tanllyd:
Yr udgorn mawr yn seinio sydd,
A'r beddau'n rhoddi'r meirw'n rhydd
  I wae neu ddydd o wynfyd.

2 Ah! hoffus sain! heb neb yn drist,
  Y meirw yn NGHRIST gyfodant
I'w gwrdd, yn mro'r gymylawg nen,
  A'i orsedd wen cylchynant:
*A'i bresenoldeb* gwiw yn awr,
*I'r rhai a'i carent* ar y llawr,
*Sy'n gweini* gwawr gogoniant.

3 Dduw mawr! pa beth a welaf draw?
Diwedd a braw yr hollfyd;
Mi wela'r Barnwr yn nesau
Ar glaer gymylau tanllyd:
O fewn ei lŷs erfyniwn le,
Pan fydd ar orsedd fawr y ne'
I'w ganfod E' mewn gwynfyd.

4 Dydd grâs yw'n awr, dydd yw i ni
I ffoi rhag llid i ddyfod;
Mae eto le, trwy'r Iesu hael,
I ni a Duw gael cymmod:
Awn ato Fe, cawn eto fyw,
Boed iddo glod, dydd cymmod yw;
O! brysiwn i'w gyfarfod. Amen.

## 6 M. N. 7. 6.

1 Y GWR fu ar Galfaria
A welir, ddydd a ddaw,
Yn eistedd ar ei orsedd,
A'r glorian yn ei law:
A phawb a gesglir yno
I'w pwyso ger ei fron:
O! f'enaid, cais dduwioldeb
I droi y glorian hon.

2 Daw dydd o brysur bwyso
Ar grefydd, cyn bo hir;
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
A phwy sydd heb y gwir.
*O Dduw! rho im'* adnabod
*Ar fyspryd, ôl* dy law;

Can's dyna'r *stamp* a'r ddelw
  Arddelir ddydd a ddaw.

3 Mae cofio dydd y cyfri',
  Sy'n dyfod, cyn bo hir,
Yn peri i rai o'u calon
  I lefain am y gwir:
'Rwy'n ofni twyllo 'm hunan—
  O Dduw! didwylla fi:
Nid oes a ddeil ei bwysau,
  Ond gwaith dy Ysbryd di. Amen.

## 7 M. N. 7. 6.

1 NESAU, er gwae'r annuwiol,
  Mae'r dydd diweddaf mawr;
Nesâu, er gwynfyd bythol
  I'r cyfiawn, mae bob awr:
I'r naill yn gyfiawn Farnwr,
  Pan ddelo'r tanllyd ddydd,
I'r llall yn llon Waredwr,
  Yr Oen fu farw fydd.

2 Bydd myrdd o ryfeddodau
  Ar doriad bore wawr,
Pan ddelo plant y tonau
  Yn iach, o'r cystudd mawr,
Oll yn eu gynau gwynion,
  Ac ar eu newid wedd,
Yn debyg i eu Harglwydd
  Yn dôd i'r lan o'r bedd.

*3 O Iesu, gwrando* 'n gweddi
  *Tra paro* dydd dy râs;

'ho'th wir adnabod ini
  Cyn llosgo 'n lamp i maes:
'ho lwyr faddeuant pechod,
  Dy Ysprryd, a dy hedd;
'el codom i'th gyfarfod
  Yn llawen iawn o'r bedd. Amen.

M. N. 6. 8.

DAETH Llywydd nef a llawr
  I wisgo dynol gnawd;
Vel, henffych Arglwydd mawr!
  A henffych dirion Frawd!
Ienffych i Dduw a'n Ceidwad hael,
. gym'rodd arno'n natur wael.

Iewn cnawd i'n tynu'n rhydd
  Daeth y tragwyddol Air;
Vel, henffych fyth i'r dydd
  Y ganwyd Ef o Fair:
'i râs fe ddaeth o uchder ne',
brofi'r lladdfa yn ein lle.

'anmolwn râs yr Oen,
  Cyfoethog Frenhin nen,
. ddaeth yn dlawd o'i fodd,
  Heb le i roi lawr ei ben:
'rwy'i dlodi Ef caiff myrdd diri'
)ragwyddol gyfoeth nefoedd fry.

'awn gysgu'r felys hun,
  Heb *deimlo gwŷn* na gwae,
*'es dêl Archangel* Duw

Y'n deffro a'n bywhau:
Ein cyrph yn anllygredig fydd,
Yn more'r adgyfodiad ddydd. Amen.

# 9

## M. N. 2. 8.

1 FE ddaw
Ar y cymylau, maes o law,
I rai, er dychryn mawr a braw,
Yn mhell uwchlaw dychymyg dyn:
Ac yna barna'r ddaear faith
Yn ol y gwaith a wnaeth pob un.

2 Fe bair
I'r nef wahanu wrth ei air,
Ac uffern fawr yn crynu cair
O flaen yr Hwn fu ar y groes;
Anfeidrol barch fydd yn y man,
I'r Hwn fu tan angeuol loes.

3 Fe gryn
Gan arswyd, bob annuwiol ddyn,
Wrth edrych heddyw ar ei lun,
A'i fyddin ddysglaer gadarn gref:
Fe ysa'r pryf'r annuwiol ryw
Wrth wel'd mai Duw mawr ydyw Ef.

4 Ond dydd
Yw hwn na welir neb yn brudd
O'r rhai a roddodd Iesu'n rhydd;
Eu g'lynion fydd wedi cael clwy—
*Holl uffern fawr* a phechod cas—
*Gan Ddwyfol râs*, na chodant mwy. A

## 10

M. C.

1 WELE dy Frenhin, Seion fwyn,
Yn dyfod oddi fry:
Crechwena, ferch, a derbyn Ef
Yn llon, mewn clodydd cu.

2 Mae'n d'od at garcharorion gwael,
O'u rhwymau i'w rhyddhau:
Y bythol byrth, a'r dorau pres
Sy'n agor iddo'n glau.

3 Y galon ddrylliog a iachâ
Yn hylwydd ac yn hael;
A chyflawn yw o bob rhyw ras
I gyfoethogi'r gwael.

4 Mewn sain hosanna, Frenhin hedd,
Mawr groesaw iti fydd:
Y nef ar gan ddadseinia'th glod
Yn wastad nos a dydd. Amen.

## 11

M. C.

1 YN nyfnder mawr annobaith du
Yr oe'm, drueiniaid gwael,
Heb lewyrch dydd, heb obaith gwiw,
Na chymhorth ini gael.

2 Mewn mawr dosturi, Brenhin nef
Welodd ein dwfwn wae;
*Gwelodd—ac O! ryfeddol ras—*
*Fe frysiodd i'n rhyddhau.*

3 O! gariad cu i'th foliant di,
Dadseinied nen a llawr;
Pob tafod dyn rhoent oll yn un
Fyth glod i'n Ceidwad mawr.

4 Traethwch ei glod, delynau aur
Yr holl angylaidd lu;
Ond pell, O! pell goruwch eich mawl
Yw cariad CRIST i ni. Amen.

## 12 M. C.

1 MESSIAH gaed, daeth ini'n Frawd,
Fe geidw rif y gwlith;
Y Dwyfol Air a wnaed yn gnawd,
Pabellodd yn ein plith.

2 I'r byd fe ddaeth Tywysog nef,
Gwaredwr dynolryw;
Yn Bethlehem y ganwyd Ef,
A CHRIST yr ARGLWYDD yw.

3 Fe'i trefnwyd yn yr arfaeth fawr
Yn Geidwad dynion gwael;
Mae pob peth angenrheidiol byth
I dlodion ynddo i'w cael.

4 Gogoniant byth i'r IESU mawr
A ddaeth i lawr o'r nef;
Fe ymddangosodd Duw 'n y cnawd,
Ein hanwyl Frawd yw Ef.

5 Yn mhlith holl ryfeddodau'r nef
Hwn yw y mwyaf un—
*Gwel'd yr anfeidrol*, ddwyfol FOD
*Yn gwisgo natur* dyn. Amen.

## 13

M. N. 8. 7. 4.

1 CYN it' ddyfod gynt i drigo
Gyda dynion, ARGLWYDD glân,
Ti ddanfonaist dy Genhadwr
I bar'toi dy ffordd o'th flaen:
Dyro heddyw
I'th genhadon gyfryw ras.

2 Caniatâ i'th weinidogion,
A gor'chwylwyr da dy Dŷ,
Lwyr arloesi ffordd it' eto
I galonau myrdd di ri';
Trwy droi'r cyndyn
I ddoethineb pur dy saint.

3 Yna ar dy ailddyfodiad
I iawn farnu dynolryw,
Caffer ninau'n gymeradwy
Yn dy olwg, O! ein Duw,
Trwy ryglyddon
Dy oddefaint ar y groes. Amen.

## 14

M. N. 8. 7. 4.

1 WELE 'n dyfod ar y cwmwl,
Mawr yw'r enw sy' iddo 'nawr;
Ar ei fraich, ac ar ei forddwyd
Ysgrifenwyd ef i lawr:
Haleluia,
Groesaw, groesaw, addfwyn Oen.

2 *Mil o filoedd,* myrdd myrddiynau,
*O gwmpeini* hardd eu gwedd,

Welaf draw yn codi fyny
I'w gyfarfod Ef, o'r bedd:
Darfu galar,
Dyma iachawdwriaeth lawn.

3 Gwelir IESU 'n ogoneddus
Yn ei ailddyfodiad glân;
Gwelir miloedd iddo'n plygu
Na phlygasant iddo o'r blaen:
Gwelir hefyd
Fyrdd yn dechreu llawenhau. Amen

## 15 M. N. 8. 7. 4.

1 DYSGWYL wyf ar hyd yr hirnos,
Dysgwyl am y bore ddydd;
Dysgwyl clywed pyrth yn agor,
A chadwynau'n myn'd yn rhydd:
O! na wawriai
Bore hyfryd Iubili.

2 Datod, ARGLWYDD, fy nghadwynau,
Rho fy enaid gwan yn rhydd;
Tyn fi 'nawr o'r pydew tywyll,
I gael gweled goleu'r dydd:
Seren fore,
Cyfod dros y bryniau draw.

3 Tyred fore tawel, hyfryd,
Tyred happus ddedwydd ddydd,
Pan fo'r dorau pres yn agor—
Carcharorion mwy yn rhydd:
*Rho arwyddion*
*O fod hyny* yn nesau.

4 Tyr'd, yr Hwn wyt yn hawddgarach
Na'th greaduriaid aml eu rhi';
'Bryd y deui i breswylio
Bob mynydyn gyda mi?
Tyr'd yn fuan,
Arglwydd, at y sawl a'th gâr. Amen.

## 16 M. N. 8. 7 4.

1 WELE 'n dyfod ar y cwmwl
'Rhwn fu farw ar y pren;
Myrdd myrddiynau o angylion
Sy'n amgylchu'i orsedd wen;
Haleluia!
Iesu a deyrnasa byth.

2 Dacw'r Brenhin yn ei gerbyd—
Udgyrn fyrdd yn canu o'i flaen;
Cydymgasgla'r meirw cysglyd
Oll ger bron yr orsedd lan:
Haleluia!
Dyma ddydd gogoniant Crist.

3 Gorfoledda y ffyddloniaid,
A'u llawenydd fydd yn llawn;
Dyma'u Prynwr mawr bendigaid,
A'u Gwaredwr anwyl iawn;
Haleluia!
Byddant mwyach gydag Ef. Amen.

## 17 M. H.

1 *CYD-FOLED y nefolion fry,*
*A'r holl dduwiolion* ar y llawr,

Ein Ceidwad cryf, a'n Cyfaill cu,
Ein Priod mwyn, a'n Prynwr mawr.

2 Ar aden cariad hedodd CRIST
I'r ddaear wael o'r nefoedd wen,
I achub pechaduriaid trist,
A'u dwyn i'r llys tu fewn i'r llen.

3 Y ffordd i'r nef yn rhydd a wnaed
Trwy rinwedd ei gyfryngdod Ef;
Anfeidrol werthfawr yw ei waed,
A'n prynodd ni i feddu'r nef. Amen.

## 18 M. H.

1 NID i gondemnio dynolryw,
Yr ymddangosodd gwir FAB DUW;
Un arf ni welwyd yn ei law,
Na thanllyd gledd i beri braw.

2 Ond cymmaint oedd tosturi DUW,
A'i gariad rhad at ddynolryw,
Anfonodd Ef ei FAB ei Hun
I'r byd, i achub euog ddyn.

3 Ei gariad neidiodd uchder mawr,
O faith eithafoedd nef i lawr;
Nis gall'sai tân nac afon gref
I atal ei ddyfodiad Ef.

4 Dewch, bechaduriaid, at FAB DUW,
A chredwch yn ei Enw gwiw;
*Cysuron fil o'i* enau ddaw,
*Bendithion fyrdd* a rydd ei law. Am.

## 19

M. N. 6. 5.

1 TRWY y cysgodau cudd,
'Roedd rhai yn canfod
O bell, â golwg ffydd,
Oen Duw yn dyfod:
Y Sylwedd mawr ei ddawn,
I dalu perffaith Iawn,
A rhoi gollyngdod llawn
Trwy waed y cymmod.

2 A syllu draw o bell
A wnaent yn fynych,
Gan waeddi "Gwlad sydd well
Yr y'm yn chwennych:"
Dyeithriaid am eu hoes,
Cyfarchent bob rhyw loes,
A'u cred yn Oen y groes,
Ef oedd eu gwrthddrych.

3 Fe ddaeth—mae'r ffordd yn rhydd
I fro'r goleuni;
A modd i ffoi, trwy ffydd,
O bob trueni:
Fe ddaeth—aeth at y TAD,
Yn rhîn ei Ddwyfol waed,
Gan gael i ni ryddhâd,
Rhag cael ein cospi. Amen.

## 20

M. H.

1 MAE Brenhin nef ar fyr yn dôd
*Mewn rhwysg* na welodd neb erioed;
*Mae angeu, uffern* fawr, a'r bedd
*Yn ofni edrych* ar ei wedd.

2 Ymddetyd y greadigaeth faith,
Yr haul a orphen ar ei daith,
Y byd a lysg, y ser a ffŷ,
Pan ymddangoso Iesu cu.

3 Cydorfoledda'r saint yn un,
Pan welont arwydd Mab y dyn,
Fel bore wawr o'r dwyrain draw
Sy'n dangos fod yr haul ger llaw.

4 Ni wela etifeddion hedd,
Ddim llid na digter yn ei wedd:
Esgynant oll yn lluoedd llon,
I wledda'n siriol ger ei fron. Amen.

---

## Nadolig.

### 21 M. C.

1 Y BORE hwn, trwy bura' hedd,
Gwir sain gorfoledd sydd
Yn mhlith bugeiliaid gwael eu bri,
Cyn iddi dori'r dydd.

2 Gwrandawed pob pechadur gwan,
Sy'n plygu gan ei bla,
Angylion nef a'u llef yn llon,
Yn dwyn newyddion da.

3 I Fethle'm Iudah, dyma'r dydd
Daeth newydd da o'r ne'—
*Duw ymddangosodd yn y cnawd,
Ein Brawd* yn dlawd ei le.

4 O! wele'r Bod sy'n dal y byd
Yn fud ar lîn ei fam!
Newydd ei eni'n nawdd i ddyn,
Yn hŷn nag Abraham.

5 Rhyfeddwn byth, tra byddwn byw
Ddaioni Duw i ddyn:
Yr Iesu 'n Aberth rhoes i ni
Trwy nodded Tri yn Un. Amen.

## 22 M. N. 8. 7. 4.

1 WELE ganwyd y Messiah,
Dyma'r hyfryd fore ddydd;
Awn i Fethle'm gyda'r doethion,
Gwelwn Ef â golwg ffydd:
Cyd-addolwn,
Wele Dduw yn natur dyn!

2 Wele'r Enw mawr rhyfeddol,
Wele'r Ior tragwyddol yw!
Clywch angylion yn clodfori
Duw yn ddyn a dyn yn Dduw:
T'wysog heddwch,
Yn y preseb gwelwyd Ef.

3 Holl blant Seion gorfoleddwch,
A chyd-genwch newydd gân;
Heddyw ganwyd i chwi Geidwad,
'Rhwn a gaed *trwy'r* Yspryd Glân:
*Cenwch iddo,*
*Nes dadseinio'r nefoedd* faith. Amen.

## 23 M. B. D.

1 BLANT ffyddlon Seion dewch,
A llawenhewch i gyd;
Yn mlaen a chwi, fel milwyr da,
Yn llon, er gwaetha'r llid:
O! hyfryd ddedwydd awr!
Messiah mawr a gaed;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

2 Er ini golli'r hedd
Yn y Baradwys wiw,
A bod yn fyr o gadw'r fraint—
Myn'd dan ddigofaint Duw:
Ni gawsom Had y Wraig
Yn gadarn graig i'n traed:
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

8 Er gwaethaf Satan sydd
Yn temptio ddydd a nos,
Mae genym hawl i'r trysor da
Sy'n para o oes i oes.
Ffordd newydd gafwyd, do,
I deithio at y Tad:
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad. Amen.

## 24 M. N. 10au. 6 llin.

1 GRIST'NOGION clywch! cyferc[l]
yn nghyd,
Y bore ganwyd Ceidwad mawr y

De'wch i ryfeddu y dirgelwch cu
Fu'n destyn cân angylion oddi fry;
Hwynthwy ddechreu'sant seinio yn gytûn
Am Faban Mair, a Duw yn natur dyn.

2 Wrth y bugeiliaid d'wedai'r angel mwyn—
"Newyddion hyfryd o fawr werth 'rwy'n ddwyn,
"Am ddyfod yr Iachawdwr mawr i'w gryd,
"'R hwn a fydd ichwi a chenhedloedd byd;
"Duw heddyw a gyflawnodd ich' ei air—
"Mab y Goruchaf gaed ar liniau Mair.

3 "Yn ninas Dafydd mae'r Gwaredydd cu,
"'R hwn a addawwyd trwy brophwydi lu,
"Y baban dwyfol yn y preseb gewch,
"Mewn gwael gadachau—tuag yno ewch."
'Nol d'wedyd hyn, tarawai'r nefol gôr,
Mewn newydd gainc, emynau mawl i'r Iôr.

4 Gan byncio clod i fawr oludoedd gras,
Nes adsain trwy amgylchoedd awyr las;
"Gogoniant yn y nefoedd boed i Dduw,
"Ac ar y ddaear faith, tangnefedd gwiw."
I Bethlehem aeth y bugeiliaid cûn
I weled rhyfeddodau Duw at ddyn. Amen.

## 25 M. N. 7. 6.

1 ANGYLION doent yn gyson
Rifedi *gwlith* y wawr;
*Rhoent eu coronau* euraidd
*O flaen y fainc* i lawr;

Chwareuent eu telynau
Yn nghyd a'r Saint yn un:
Byth, byth ni chanant ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

2 Cymhwyswyd pabell iddo,
Sef corph o lwch y byd;
'Run natur oedd gan Adda
A'i feibion oll i gyd:
Gwir ddyn, o sylwedd dyndod,
Heb bechod o un rhyw,
Ac ynddo yn cartrefu
Yr Hollalluog Dduw!

3 Emmanuel—creadur
A'r Duwdod mawr yn un,
Dysgleirdeb ei ogoniant,
Ei ddelw Ef ei Hun:
Ordeiniwyd iddo ddoniau,
Grasusau o bob rhyw,
Fel y pelydrai ynddo
Ogoniant Person Duw.

4 O! f'enaid gwel addasrwydd
Y Person Dwyfol hwn;
Ymddiried iddo'th fywyd,
A bwrw arno'th bwn:
Mae'n ddyn i gydymdeimlo
*A'th holl* wendidau i gyd;
*Mae'n Dduw* i fynnu'r orsedd
*Ar ddiafol*, cnawd, a byd. Amen.

## 26

M. S.

1 FE roddwyd MAB yn rhad i ni,
Ei Enw sy'n Rhyfeddol;
Ar ysgwydd Hwn llywodraeth gaed,
Duw cadarn, TAD tragwyddol.

2 Chwilio ei berson hardd, a'i waith,
Sydd orchwyl maith anfeidrol;
Mae ar y llawr, ac yn y ne'
Ei Enw E'n Rhyfeddol.

3 Yr Hên Ddihenydd yn ddyn gwan
Mewn preseb, dan ei rwymau;
Y Gair tragwyddol ar lîn Mair
Heb fedru gair â'i enau!

4 Mae holl ddoethineb Duw yn nghyd
Yn cwrddyd yn ei Berson;
Nid rhyfedd fod y nefol lu
Yn ei addoli'n gyson.

5 I'r TAD, a'r MAB, a'r YSPRYD GLÂN
Dyrchafer cân clodforedd,
Fel gynt yr oedd, y mae'n ddilyth,
A phery byth heb ddiwedd. Amen.

## 27

M. N. 8. 7. D.

1 RHYFEDD, rhyfedd gan angylion
Syndod mawr yn ngolwg ffydd!
Rhoddwr bod, Cynhaliwr helaeth,
A Rheolwr pob peth sydd
Yn y preseb mewn cadachau!
Ac *heb le 'roi 'i ben* i lawr:
*Eto dysglaer lu'r gogoniant*
*A'i haddolant Ef* yn awr.

2 Dyma'r Brawd a anwyd ini
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlawn ydyw, llawn tosturi,
Haeddai gael ei foli'n fwy;
Rhyddhäwr caethion, Meddyg cleifion
Ffordd i Seion union yw,
Ffynnon loew, Bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yn fyw. Amen.

# Dydd Enwaediad Cris

## 28 M. S.

1 CYSEGRODD CRIST â'i waed ei Hu
Ddydd cynta'n blwyddyn newydd;
Cadwn e'n wyl i gofio glân
Ddyoddefaint cynta'n Prynydd.

2 'Roedd dafnau gwaed enwaediad CRIS
Yn wystl o'i drist farwolaeth;
Ernes o'r gwaed a ffrydiai'n lli'
A'r Galfari'n fwy helaeth.

3 Trwy waed cysegrodd Ef ei oes
O'i gryd i groes ei angau:
Trwy ddwfr ac arwydd glân y Groes
Cysegrwyd ein hoes ninau.

4 Enwaedwyd CRIST, yr addfwyn Oen,
I ddyoddef poen ein beiau;
*Bedyddiwyd* ninau i ddwyn y groes
*Ar hyd ein* hoes fel yntau.

5 Enwaeda'n calon, ARGLWYDD DDUW,
Rho ysbryd briw cystuddiol!
Enwaeda'n clustiau i wrando'n glau,
Dan grynu, d'eiriau nefol. Amen.

## 29

M. S.

*[Dechreu blwyddyn.]*

1 CLODFORWN ein Cynhaliwr fyth
Am ei fendithion helaeth;
Profasom hyd y fynyd hon,
Ei ofal tirion odiaeth.

2 Bob haf a gauaf, 'r ŷm yn cael
Ei anwyl hael ddaioni;
A cha'dd y flwyddyn frau o'i bron
A'i roddion ei choroni.

3 Bu llynedd farw lawer un,
A ninau sy'n heneiddio;
Cawn bawb ein harwain cyn b'o hir
Drwy angeu, i dir angho'.

Nis gwyddom beth y sydd o'n blaen,
Pa ddwr, neu dân, neu dristwch;
Ein cysur yw fod CRIST o'n rhan,
I'n tywys trwy'r anialwch.

Os arbed y Gwinllanydd hael
Ni, brenau gwael, anfuddiol,
dygwn 'leni gyflawn lwyth
O beraidd ffrwyth rhagorol. Amen.

M. C.

*[Dechreu blwyddyn.]*

*N arall o flynyddau* 'm hoes
*Sydd wedi'i threulio* i gyd;

Torf fu'n ei dechreu gyda mi,
Sy'n awr mewn bythol fyd.

2 O fewn y flwyddyn hon fe all
Daw gwŷs am danaf fi,
I newid pob rhyw fwyniant byd
Am fedd mewn daear ddu.

3 Rhy debyg i'r ffigysbren gwael
Na ddygai ffrwythau pur,
Y treuliais amser na ddaw 'nol,
Gan dost ddiffrwytho'r tir.

4 O Dad! gad i'r ffigysbren fyw
Nes dygo ffrwythau mawr;
Dan nawdd dy nefol driniaeth boed—
O! paid a'i dori lawr.

5 Wrth edrych 'nol, fath wallau mawr
Wy'n ganfod yn fy ngwaith;
Rho ras i wella'r gwallau oll,
'Rhyn sydd yn ol o'm taith.

M. B.

31 [*Dechreu blwyddyn.*]

1 DROS flwyddyn eto'n awr,
Trwy nodded UN yn DRI,
Diangol ŷm, a chododd gwawr
Un newydd arnom ni.

2 Er hir ddiffrwytho tir
*Y Pen-gwinllanydd* mawr,
*A bloedd* cyfiawnder uwch ei ...
*I dori'r pren* i lawr;

3 Hyd yma llwyddo wnaeth
Ei ddwys eiriolaeth Ef,
Uwch gwaedd pechodau o bob rhyw,
Er uched yw eu llef.

4 Gogoniant fo i'r Tad,
I'r Mab a'r Ysbryd Glân,
Fel gynt y bu, y mae, a bydd
Yn hanfod diwahân. Amen.

# Yr Ystwyll.

## 32

7au. 4llin.

1 WELE'R dydd yn gwawrio draw,
Amser hyfryd sydd gerllaw;
Daw'r Cenhedloedd yn gytun
I ddyrchafu Mab y dyn.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr
Yn ben moliant ar y llawr;
Gwelir tŷ ein Harglwydd cu
Goruwch y mynyddoedd fry.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn
Yn dylifo ato'n llawn;
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgant ryfel mwy.

4 Llwyddo wnaed Efengyl hedd,
Miloedd *ynddi gaffont* wledd;
*Gwneler meirwon* fyrdd yn fyw
*Trwy Efengyl* gallu Duw.

5 Deued gogledd, dwyrain, de,
I foliannu Brenhin ne';
Doed terfynau maith y llawr
I ddyrchafu 'i Enw mawr. Amen.

M. H.

33

1 O ARGLWYDD doed dy deyrnas di
Dros holl derfynau'n daear ni;
A gwna hi'n ufudd, fel y nef,
I ddeddfau dy lywodraeth gref.

2 Lle 'nawr teyrnasa t'wyllwch du,
Llewyrched yr Efengyl gu;
Lle trig anwiredd o bob rhyw,
Boed purdeb a chyfiawnder gwiw.

3 O dwg y pell Genhedloedd draw,
A'r holl Iuddewon yn dy law,
Yn hawddgar lu i'th Eglwys lon,
I ymhyfrydu ger dy fron.

4 Cyd-ganu wnaed pob genau 'nawr
Dros dir a mor i'th Enw mawr;
O! lleda'th faner drwy'r holl fyd,
Y nef a'r ddaear una 'nghyd. Amen.

M. H.

34

1 DOWCH, addewidion, dowch yn a[illegible]
Dyhidlwch eich trysorau lawr;
Myrddiynau ar fyrddiynau sydd
Yn dysgwyl am eich bore ddydd.

2 *Doed gogledd, de, a dwyrain bell*
*I glywed y newyddion gwell;*

Ac eled swn efengyl gras
Yn gylch oddeutu'r ddaear las.

Y fagddu fawr yn fuan ffŷ,
Mae'r wawr ar dori oddifry;
Y duwiau mân, difethir hwy,
A neb ond Iesu 'n Arglwydd mwy.

O! Haul Cyfiawnder dysglaer, llon,
Goleua'r byd yn llwyr o'i fron;
Gwna nefol ddydd 'nol tywyll nos—
Dydd seinio haeddiant gwaed y groes. Amen

5 M. N. 112.

CLAF wyf a llesg, bron llwfwrhau,
Dy absenoldeb sy faith iawn;
Dy fod Di cyhyd yn pellhau
Sy'n gwneyd im' ruddfan fore a nawn.
Rho wel'd dy wedd, fy Ior, ar frys,
Neu cymer fi i'th nefol lŷs.

Dy drigfan yn y nef a gair,
Ond Ti dd'est i gystuddiau heb ri',
Gan ado'r holl delynau aur,
Er mwyn gwaredu f'enaid i:
Rho wel'd dy wedd, fy Ior, ar frys,
Neu cymer fi i'th nefol lŷs.

Ar ol it' ddyoddef marwol glwy',
A elli atal nefol ras—
A chuddio'th gariad fwy na mwy—
Rhag llifo'n *afon* loew lâs?
*Rho wel'd dy* wedd, fy Ior, ar frys,
*Neu cymer fi i'th* nefol lŷs. Amen.

## 36

M. N. 8. 7. D.

1 ARGLWYDD, drwy arweiniad Seren,
Dygaist ddoethion gynt yn nghyd,
I ymwel'd, yn ninas Bethle'm,
A Phryniawdwr mawr y byd.
Trwy dy YSPRYD arwain ninau
At Iachawdwr dynolryw,
I offrymu moliant iddo
Am ei gariad, tra f'om byw.

2 Ti yw Seren y Cenhedloedd,
Codaist fel goleuni mawr,
Gan wasgaru'r tew dywyllwch
Fel yr haul, pan godo'r wawr.
Dyrchwn ninau glod i'th Enw
Am it' wneyd y caeth yn rhydd;
A chan brisio y goleuni
Rhodiwn bawb fel plant y dydd. Amen

## 37

M. N. 8. 7. D.

1 YN y dwyrain gwelid Seren—
Seren ddysglaer iawn ei gwawr,
Na bu iddi yn gyffelyb,
Er pan wnaed ffurfafen fawr:
Y gwyr doethion a'i dilynent—
Ni orphwysent hyd nes dod
I'r lle uwch yr hwn y safodd—
*Preseb* Bethle'm oedd y nod.
*Dyma flaenffrwyth* y Cenhedloedd,
*Blaenffrwyth* y cynhauaf mawr

Oedd yn awr ar gael ei gasglu
  Dros holl wyneb daear lawr;
Mae'r canolfur wedi 'i symud,
  Llen y deml wnaed yn ddwy
Rhwng y Cenedl-ddyn a'r Iuddew
  Nid oes un gwahaniaeth mwy.

3 Boed yn awr, trwy ffydd, i ninau
  Ddilyn goleu'r Seren hon,
Nes ein dwyn i breseb Bethle'm
  I addoli ger Ei fron.
A thrwy einioes boed i'n tywys,
  Hyd nes down i'w gweled fry,
Yn tywynu yn sefydlog
  Goruwch sedd ein Prynwr cu. Amen.

# 38 M. C.

1 LLEWYRCHED pur oleuni'r nef
  Dros wyneb daear faith;
Ac aed efengyl gadarn, gref,
  Hyd at bob llwyth ac iaith.

2 Doed deheu, gogledd, dwyrain faith,
  Gorllewin o un fryd,
I edrych ar brydferthwch gwaith
  Iachawdwr mawr y byd.

3 Fe gân y Negroes tywyll, du,
  Yn hyfryd, maes o law;
Pan d'wyno gwawr efengyl gras
  Dros dir yr India draw.

4 *I'r* TAD, *a'r* MAB, a'r YSPRYD GLÂN
  *Rhown fawl* ar gân i gyd;

Sain haleluia fo 'mhob man
Trwy bedwar ban y byd. Amen.

## 39 M. C.

1 AM IESU GRIST, a'i farwol glwy'
Boed miloedd mwy o son;
A d'weded pob creadur byw
Mai teilwng ydyw'r Oen.

2 Aed son am waed yr Oen ar led
Y ddaear faith i gyd;
Gwybodaeth bur a chywir gred
Ymdaened dros y byd.

3 Fe ddaw'r blynyddoedd pur i ben
Pan d'wyno efengyl gras,
Fel haul dysglaerwen yn y nen
O gylch y ddaear las.

4 Ac mi ddysgwyliaf hyfryd wawr
Boreuddydd Iubili,
Pan ddelo holl dylwythau'r byd
I deithio i Galfari. Amen.

## 40 M. C.

1 CENHADON hedd gânt ddwyn ar
Efengyl gras ein Duw,
I bob rhyw fan yn mhellder byd
Lle triga dynolryw.

2 Mynegant am y cymmod gwiw,
A ddaeth trwy bwrcas drud;
*A'r ffynnon* hyfryd sy'n glanhau
*Aflendid* mwya'r byd.

r gwyllt Farbariad gwael,
na'r Ethiop du,
ywed am anfeidrol Iawn
d ar Galfari.

rdd myrddiynau rif y dail—
thau'r anial dir,
liannu Adda'r ail
swn yr udgorn clir. Amen.

M. N. 8. 7. D.

baneran'r nef yn chwareu,
leg mae'r efengyl lon ;
r Iesu mwyn deyrnasu
derfynau'r ddaear gron:
w gweled llwythau Israel,
n ond hyny wrth ei draed:
ael tyrfa fwy lluosog
lfori'r Dwyfol waed.

aden, fwyn efengyl,
dros wyneb daear lawr;
h udgorn clir nes clywo
o deulu'r codwm mawr:
am rinwedd Balm Gilead,
hysygwr yno sydd;
n wyn y rhai aflanaf,
y caethion oll yn rhydd. Amen.

M. N. 8. 7. D.

*HOG, Iesu,* yn llwyddiannus,
*g dy gleddyf* ar dy glun;

Nis gall daear dy wrthsefyll,
'Chwaith nac uffern fawr ei hun:
Mae dy Enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw,
Mae rhyw arswyd trwy'r greadigae
Pan y byddost Ti gerllaw.

2 Llama, Arglwydd, dros y bryniau,
Doed y dyddiau gwiw i ben
Pan bo Seion, trwy fawr lwyddiant
Yn ben-moliant îs y nen:
Enw'r Iesu gaffo'i barchu,
A'i ddyrchafu trwy bob gwlad;
Miloedd ddelo i gofleidio'r
Iachawdwriaeth trwy ei waed.

## 43 M. C. D.

1 AED swn Efengyl bur ar led
Trwy barthau'r byd o'r bron:
Boed llwyddiant trwy deyrnasoedd
Lle mae pregethiad hon;
Fel delo miloedd eto i maes
O'r t'wyllwch cas yn fyw,
Trwy'r India draw ac Asia fras,
I ganmol grâs ein Duw.

2 Aed sain yr udgorn arian mawr
Yn mlaen trwy'r anial dir;
Fel delo'r werin gyda'r wawr:
*I' mofyn* am y gwir:
*Helaetha'th* babell 'r ochr hyn,
*Estyn gortynau* i maes;

O oes i oes, tra paro'r byd,
Bydd canmol am dy ras. Amen.

## 44 M. N. 6. 8.

1 Y SEREN fore sydd
Yn ymlid draw y nos,
Gan droi yn oleu ddydd,
Dywylliwch llawer oes:
Eich llygaid trowch, Genhedloedd trist,
I ganfod pur ddysgleirdeb CRIST.

2 Gwyn fyd y dydd y daeth
Yr Iesu mawr i'r byd;
Taleithiau'r ddaear faith,
Cyd-lawenhewch i gyd:
Dadseiniwch byth hosanna ber,
Gan godi'r swn yn uwch na'r ser.

3 Gogoniant fo i'r TAD
Hyd entrych nefoedd wen;
Gogoniant i'r MAB rhad
A'n prynodd ar y pren;
I'r YSPRYD GLÂN boed parch dilyth
Mewn melys gân a moliant byth. Amen.

## 45 M. N. 6. 8.

1 AED grym efengyl CRIST
Yn nerthol trwy bob gwlad;
Sain hyfryd gan bob clust,
Fo'r iachawdwriaeth rad.
*O! cyfod, Haul Cyfiawnder mawr,*
*Dysglaeria'n lân dros ddaear lawr.*

2 Teyrnased Dwyfol ras
Dros holl derfynau'r byd;
Diflaned pechod cas,
Trwy gyrau hwn i gyd.
Cyduned pawb o ddynolryw
Ar dir a môr, i foli Duw.

3 Gogoniant fo i'r Tad
Hyd entrych nefoedd wen;
Gogoniant i'r Mab rhad
A'n prynodd ar y pren;
I'r Ysbryd Glân boed parch dilyth
Mewn melys gân a moliant byth. Am

46 M. H.

1 O! FRENHIN mawr tragwyddol
Wyt oll yn oll, wyt oll yn un;
Rho imi wel'd dy hyfryd wedd—
Ni cheisiaf fwy tu yma i'r bedd.

2 Nef yw i'm henaid yn mhob man,
Pan brofwyf Iesu mawr yn rhan;
Ei weled Ef â golwg ffydd
Dry'r dywell nos yn oleu ddydd.

3 Boed imi dreulio'm dyddiau i gyd
I edrych ar dy wyneb pryd:
Difyru f'oes o awr i awr
I garu fy Ngwaredwr mawr. Amen.

47 M. H.

1 *O ARGLWYDD* gad im' dy fwynh
*Ac onide* 'rwy'n llwfwrhau;

, le ceir imi dan y ne'
Yn math o gysur yn dy le.

, Fel dysgwyl y gwyliedydd prudd,
O awr i awr, am oleu'r dydd;
Felly 'rwyf fi o bryd i bryd
Yn dysgwyl am dy wyneb pryd.

4 Rwy'n mofyn yn dy deml lân,
Am gael dy weled fel o'r blaen;
A bore wawr i d'wynu'n rhad,
O bur gynteddau tŷ fy Nhad.

4 Rho imi brawf o'th gariad drud—
I'r sawl a fynech dod y byd—
Dy gwmni dry, mewn mynyd awr,
Y ddaear megys nefoedd fawr. Amen.

## 48 M. N. 8. 7.

1 NID fy nef yw ar y ddaear,
Pe y goreu man dan haul;
Ond fy nef yw presenoldeb
Siriol wyneb Adda'r ail:
Gwena arnaf, ARGLWYDD grasol,
Gwaeddaf allan, digon yw;
Yna 'nghanol cyfyngderau
Fyth yn llawen byddaf byw.

2 ARGLWYDD IESU, rho im' feddu
Gwedd dy wyneb, digon yw;
Nefoedd f'*enaid* gwan yw gweled
*Gwedd dy* wyneb Di, fy NUW.

Gwedd dy wyneb yw fy mywyd,
  Gwedd dy wyneb yw fy hedd,
Gwedd dy wyneb ydyw'r cwbwl
  Yma a thu draw i'r bedd. Amen.

## 49 M. N. 8. 7.

1 WYNEB siriol fy Anwylyd
  Yw fy mywyd yny byd;
Ffarwel bellach bob eilunod,
  Iesu'Mhriod aeth â'mryd.
Brawd mewn myrdd o gyfyngderau,
  Ffrind mewn môr o ofid yw;
Ni chais f'enaid archolledig
  Neb yn feddyg ond fy Nuw.

2 Y mae nefoedd yn Ei gwmni,
  Y mae bywyd yn Ei wedd,
Ag sy 'n gwneuthur angeu 'n gyfaill,
  Ac sydd yn gorchfygu'r bedd.
Rho'th gyfeillach, Iesu addfwyn!
  Dyna wyf yn geisio i gyd,
Ac mi fyddaf mwy yn foddlawn
  Boed a fyddo yn y byd. Amen.

## 50 M. N. 8. 7. 4.

1 PERAIDD ganodd ser y bore
  Pan y ganwyd Brenhin nef;
Doethion a bugeiliaid hwythau
  Ddaethant i'w addoli Ef;
    *Gwerthfawr drysor*
*Yn y preseb,* Iesu, gaed.

2 Dyma y newyddion hyfryd
    Draethwyd gan angylion Duw —
Fod y Ceidwad wedi 'i eni
    I golledig ddynolryw.
        Ffyddlawn gyfaill,
Bechaduriaid, molwn Ef.

3 Testyn cân yr holl brophwydi,
    Seren Iacob, Had y Wraig,
Silo Iudah, Gwreiddyn Iesse,
    'R Hwn a siga ben y ddraig:
        Iachawdwriaeth
I drueiniaid drwyddo ddaeth.

4 Tad tragwyddol yw ei Enw,
    T'wysog y tangnefedd yw;
Crewr mawr y bydoedd ydyw,
    A Chynhaliwr dynolryw:
        Hollalluog!
    Daeth i farw yn ein lle. Amen.

## 51 M. N. 8. 7. 4.

1 DROS y bryniau tywyll, niwlog,
    Yn dawel, f'enaid, edrych draw;
'R addewidion sydd i esgor
    Ar ryw ddyddiau braf gerllaw:
        Nefol Iubil,
Gad im' wel'd y bore wawr.

2 Doed yr Indiaid, doed Barbariaid,
    Doed y Negroes du yn llu,
I *ryfeddu'r Ddwyfol* goncwest
    *Unwaith gawd ar Galfari*;

Swn y frwydyr
Dreiddio i gonglau pella'r byd.

3 Gwawria, gwawria, hyfryd fore
Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes bo bloedd yr euraidd udgorn
Yn dadseinio nen a llawr—
Holl derfynau
Tir Immanuel i gyd.

4 Hed, fel mellten, bur Efengyl,
A gorchfyga oll yn lân;
Bydded i'th gyffiniau eang
Ymhelaethu fyth yn mlaen;
A'th lywodraeth
Dros y moroedd mawr i gyd. Amen.

## 52 M. N. 8. 7. 4.

1 DUW! teyrnasa ar y ddaear
O'r gorllewin bell i'r de';
Cymer feddiant o'r ardaloedd
Pellaf, t'wyllaf is y ne';
Haul Cyfiawnder!
Llanw'r ddaear fawr â'th râs.

2 Taened gweinidogion bywyd
Iachawdwriaeth Iesu ar led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred;
Aed Efengyl
*Ar adenydd* Dwyfol wynt.

*3 Doed preswylwyr* yr anialwch,
*Doed trigolion* bro a bryn;

Doed y rhai sydd ar y cefnfor,
I garu'r iachawdwriaeth hyn;
Nes bo adsain
Moliant yn amgylchu'r byd. Amen.

# Y Garawys.

53 M. S.

1 CLYW, dirion Grëwr, lais ein cri,
Boed it' ein gweddi'n hyspys;
A deuwn ger dy fron, drwy ffydd,
Yn neugain nydd y G'rawys.

2 O Chwiliwr ein calonau ni,
Da gwyddost Ti ein gwendid:
Rho in', wrth atat droi, ein Tad,
Faddeuant rhad a rhyddid.

3 Mawr yw'n pechodau, aml, a blin,
Ond arbed ni'n cyffesu;
Er mwyn dy glod rho in' mewn pryd
Dy iechyd i'n hadferu.

4 Moes ini ras, er goddef gwawd,
I gospi'n cnawd â dirwest;
A dyro nerth i'n calon frau
Gael ar ei gwŷniau goncwest.

5 *DRINDOD yn UNDOD* caniatâ
*Fuddioldeb* a *bendithion*,

O'n hympryd hwn a'n gweddi brudd,
I ni, dy ufudd weision. Amen.

## 54 M. S.

1 O'R dyfnder gelwais arnat, Ion,
O Arglwydd tirion gostwng
Dy glust, ystyria y llais mau,
Clyw fy ngweddiau teilwng.

2 Duw! pwy a saif yn d'wyneb Di
Os creffi ar anwiredd?
Ond, fel y'th ofner di yn iawn,
Yr wyt yn llawn trugaredd.

3 Dysgwyliais, f'Arglwydd, wrth fy rhai
Dysgwyliodd f'enaid wrtho:
Rhois fy holl obaith yn ei air,
Fy enaid gair yn effro.

4 Ac am yr Arglwydd gwylio wna'
Fwy na'r gwyliedydd dyfri',
Gan edrych rhagddo bob pen awr,
Nes gwelo'r wawr yn codi. Amen.

## 55 M. S.

1 ARGLWYDD rhyddhâ fy enaid caeth
Sy'n flin gan faith gaethiwed;
Gan weddill pechod trist iawn wy'—
Ys truan, pwy a'm gwared?

2 Fy llygredd sydd fel tywell nos
Yn codi dros fy enaid;
*Methu dy wel'd*—hyn yw fy nghlwy'—
*Ys truan*, pwy a'm gwared?

3 Pan geisiwyf dd'od at Dduw trwy ffydd,
I 'mofyn budd i'm henaid;
Drwg yn bresenol profi 'rwy'—
Ys truan, pwy a'm gwared?

O brysia, Arglwydd, yn ddilys,
A thyr'd ar frys i'm gwared;
Gad im' dy brofi'n oll yn oll,
Tyn fi o'm holl gaethiwed. Amen.

## 56 M. S.

NA thro dy wyneb, Arglwydd glân,
Oddiwrth un truan agwedd,
Y sydd o flaen dy borth yn awr,
Mewn cystudd mawr yn gorwedd.

Na alw mo'nof ger dy fron
I roddi union gyfrif:
Yr wy'n cydnabod, fy Nuw hael,
Y bywyd gwael oedd genyf.

Trugaredd, Arglwydd, heb ddim mwy
Yw'r cwbwl 'rwy'n ei geisio:
Trugaredd yw fy newis lwydd,
Trugaredd, Arglwydd, dyro. Amen.

## 57 M. B. C.

TRUGAREDD dod i mi,
Dduw, o'th ddaioni tyner;
Tyn *ymaith yr an*wiredd mau
*O'th drugaredda*u lawer.

2 A golch fi yn llwyrddwys,
Oddiwrth fawr bwys fy meiau:
Fy Arglwydd gwna'n bur lân fyfi
Rhag brynti fy nghamweddau.

3 Duw crea galon bur;
Dod imi gysur beunydd;
I fyw yn well tra f'wy'n y byd,
Dod imi yspryd newydd.

4 O Dduw na ddyro chwaith
Fi ymaith o'th olygon:
Ac O! na chymer d'Yspryd Glan
Oddiwrthyf druan gwirion.

5 Rho im' orfoledd llawn
Dy gyflawn iachawdwriaeth;
A chynnal fi, bechadur gwael,
A'th Yspryd hael yn helaeth. Am

## 58 M. N. 7. 6.

1 PECHADUR wyf, O Arglwydd,
Sy'n curo wrth dy ddôr;
Erioed mae dy drugaredd
Diddiwedd yn ystôr;
Er iti faddeu beiau
Rifedi'r tywod mân,
Gwn fod dy hen hên drugaredd
Lawn cymmaint ag o'r blaen.

*2 Gwasgara'r tew gymylau,*
*Oddiyma i dŷ fy Nhad;*

Datguddia imi beunydd
  Yr iachawdwriaeth rad;
A dywed air dy Hunan
  Wrth f'enaid clwyfus, trist,
Dy fod yn maddeu 'meiau
  Yn haeddiant Iesu Grist. Amen.

## 59 M. N. 7. 6.

1 O'TH flaen O Dduw! rwy'n dyfod,
  Gan sefyll o hir bell;
Pechadur yw fy enw—
  Ni feddaf enw gwell:
Trugaredd wyf yn geisio,
  A cheisio eto wnaf;
Trugaredd imi dyro,
  Mi drengaf onis caf.

2 O! Arglwydd nid oes genyf
  Trwy 'mywyd hyd fy medd,
O hyd ond gwaeddi "Maddeu
  I un na haeddai hedd:"
Achubaist fyrdd myrddiynau—
  Ymwthiaf gyda hwy,
A llefaf "Achub finau
  Na chofia' meiau mwy."

3 Er imi bechu'n ffiaidd,
  O'm mebyd hyd yn awr;
Mil mwy yw dy drugaredd,
  Na'm holl *bechodau* mawr:
*Mwy rhinwedd gwaed* dy galon,
  *Na'm ffiaidd bechod* cas;

Dyfnach na damnedigaeth,
Yw'th gadwedigol ras. Amen.

## 60

M. C.

1 'RWY'N wael fy ngwedd a du fy lliw,
Nid yw fy mriw'n gwellau;
Af at y Meddyg mawr ei fri
Sy'n gadarn i iachau.

2 Af dan fy nghlwyfau ato' nes
I gael fy esmwythau;
Mae Ef, os afiach ydwyf fi,
Yn gadarn i iachau.

3 Er bod y pen yn glwyfus oll,
A'm harcholl yn dyfnhau,
CRIST yw y Meddyg dâl i mi—
Mae'n gadarn i iachau.

4 Y gwanaf un o'r gweiniaid wy'
Dan bwys fy nghlwy'n llesgau:
Ond nerth a rydd i rai dirym—
Mae'n gadarn i iachau.

5 Rhyw dòn ar dòn, a chroes ar groes,
Fy einioes sy'n tristau;
Er hyn nid annobeithiaf ddim—
Mae'n gadarn i iachau. Amen.

## 61

M. C.

1 MAE'R orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan;

Wel cyfod bellach, f'enaid prudd,
Anadla tua'r lan.

2 O anfon eirchion aml ri'
I mewn i byrth y nef;
Gwrandewir pob amddifad gri
Yn union ganddo Ef.

3 Myfi anturiaf 'nawr yn mlaen,
Heb alwad îs y ne';
Ond bod perffeithrwydd mawr y groes
Yn ateb yn fy lle.

4 Calfaria fryn yw'r unig sail
Adeilaf arno mwy;
A gwraidd fy nghysur byth gaiff fod
Mewn Dwyfol farwol glwy. Amen.

## 62 M. N. 6. 8.

1 I FYNY at fy Nuw
Fy enaid cwyd dy lef;
Heibio i'r euraidd lu
I orsedd nef y nef;
Gostwng dy glust o'r bryniau fry,
O Arglwydd grasol cofia fi.

2 Wyf yma'n wael fy ngwedd,
Yn euog ac yn wan;
Gelynion creulawn sy'n
F'amgylchu yn mhob man:
*Bydd imi'n blaid i goncro'r llu;*
*O Arglwydd grasol* cofia fi.

3 Yn ngwyneb uffern ddu,
Ac angeu mawr ei rym;
Rho imi nerth wrth raid,
Bydd Di yn nodded im':
Yn nyfroedd yr Iorddonen ddu,
O ARGLWYDD grasol cofia fi. Amen

## 63 M. N. 6. 8.

1 PECHADUR wyf erioed
O halogedig ryw;
Pechadur fynai fod
Yn erbyn gras fy NUW:
O maddeu'n rhad fy meiau 'nawr,
Ar gyfrif gwaed yr IESU mawr.

2 Troseddwr wyf, O DDUW,
Da iawn y gwyddost hyn:
Annheilwng iawn i fyw
Tu yma i uffern lyn;
O dan ei faich mae f'enaid gwan,
Estyn dy fraich a dwg fi i'r lan.

3 Rhif fy mhechodau sydd
Fel y mân wlith brydnawn;
A rhei'ny oll bob dydd
O liwiau duon iawn;
Ond afon lifodd ar y bryn
A all fy ngolchi oll yn wyn. Ame

## 64 M. N. 8. 7. D.

1 GOSTWNG, IOR, dy glust i'm gw
Llais y tlawd a'r truan clyw;

Cadw f'enaid, sanctaidd ydwyf,
Achub Di dy was, fy Duw:
Yn dy ras yr wy'n ymddiried—
Arglwydd wrthyf trugarhâ:
Arnat Ti 'rwy'n llefain beunydd,
Tithau f'enaid llawenhâ.

2 Atat y dyrchafaf f'enaid—
Duw maddeugar ydwyt Ti;
Mawr i bawb yw'th ras haelionus
A alwant arnat, Arglwydd Rhi.
Gwel fi'n daer o flaen d'orseddfa,
Derbyn f'ymbil, clyw fy llef,
Gwaeddaf arnat yn fy nghyni,
Clyw fy llais o lŷs y nef.

3 Cofia'th hên dosturi, Arglwydd,
Cofia'th drugareddau mâd;
Maent erioed o fewn dy fynwes,
Nac annghofia'th gariad rhad;
O na chofia feiau'm hie'nctyd,
Llwyr ddilea'm beiau 'nawr;
Meddwl yn dy ras am danaf
Er daioni, Arglwydd mawr. Amen.

## 65

M. N. 8. 7. D.

1 WELE fi, bechadur aflan,
O ba rai y pena'n fyw;
Rhyfedd byth! fe drefnwyd Pabell
Im' gael tawel gwrdd â Duw:
*Yno mae yn llon'd ei gyfraith,*
*I'r troseddwr* i gael gwledd;

Duw a dyn yn gwaeddi "Digon,"
Yn yr Iesu 'r Aberth hedd.

2 Mi âf ato yn hyderus—
Aur deyrnwialen sy'n ei law;
A'i hestyniad at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw:
Af yn mlaen dan waeddi "Pechais,
Af, a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant a thrugaredd,
Trwy ei werthfawrocaf waed.

3 Arglwydd dyro galon imi
Fo'n galaru am bob bai;
Nid oes drefn na gobaith f'achub,
Heb im' wir edifarhau;
'Rhai sy'n profi duwiol dristwch,
Welir fry yn llon i gyd;
Pawb a'u dagrau wedi'u sychu,
Pawb yn moli Prynwr byd. Am

## 66 M. N. 10au.

1 PECHADUR wyf a aeth yn llwyr
O'm pen i'm traed yn euog afla
Tan glwyfau dwys tra dyfnion tryn
Ond Meddyg rhad i'm bath yw Iesu

2 Efe ei Hun, i roddi im' iachâd,
Yw'r Un a fedd bob gras a rhinwed
*Ac ato Ef,* sy'n ffynnon o bob daw
*Mi goda'm llef* hwyr, bore, a phry

)! Iesu gwiw, golch fi o'm pen i'm traed,
'rwy rinwedd pur dy werthfawr Ddwyfol
waed;
ho heddwch im' rhag euog ofnus gur,
llanw fi â'th anian sanctaidd bur. Amen.

M. N. 8. 7. D.

)AN ymblygom wrth dy orsedd,
Arglwydd Iesu, clyw ein llef;
[addeu ini, bechaduriaid;
Eiriol drosom yn y nef:
rwy'r hyn oll a ddyoddefaist
Yma'n addfwyn erom ni,
wared, Arglwydd, ni'n ddaionus
Erglyw lef ein Litani.

wy dy ddirgel lân Gnawdoliaeth
Er ein mwyn, fel tirion Frawd;
y dy sanctaidd Enedigaeth
[ewn amgylchiad gwael a thlawd;
y dy Ympryd yn yr anial,
wy dy Fedydd yn y lli,
ed, Arglwydd, ni'n ddaionus,
lyw lef ein Litani.

dy Grog a'th Ddyoddefaint,
y dy Angeu a'th werthfawr Waed;
ly Godiad a'th Esgyniad
w'r bedd i lys y Tad;
*dyfodiad* dy Lân Ysbryd
*trigai gyda* ni,

Gwared, Arglwydd, ni'n ddaionus,
Erglyw lef ein Litani. Amen.

## 68

M. C.

1 PECHADUR wyf, y dua'n fyw,
Trugaredd yw fy nghri;
Gostwng dy glust a'm llefain clyw:
O! Arglwydd cofia fi.

2 Y mae tosturi fel y môr,
Heb fesur ynot Ti;
O'th ras sy'n annherfynol stôr,
O! Arglwydd cofia fi.

3 Boddlonodd Crist y nef yn llawn,
Ar fynydd Calfari;
Er mwyn ei berffaith, Ddwyfol Iawn,
O! Arglwydd cofia fi.

4 Fy anwireddau mawr a mân
Yn llwyr darostwng Di;
I'm puro trwy yr Ysbryd Glân;
O! Arglwydd cofia fi. Amen.

## 69

M. C.

1 O ARGLWYDD clyw fi dan fy nghur,
Mewn gwewyr ddydd a nos,
Yn llefain am faddeuant rhad,
A'm golchi 'ngwaed y groes.

2 *O Iesu gwna* fi'n gwbwl lân
*O'm holl* wahanglwyf du;

b hyn nid oes i'm henaid gwan,
Un gyfran ynot Ti.

.o imi'r fraint—O! dyro'n rhad,
I'th alw'n Dad, O! DDUW;
wy IESU gwiw a'i chwerw gur,
Gad i bechadur fyw.

mwyn yr Aberth ar y bryn,
Yr IESU gwyn a'i waed;
dywed wrth fy enaid i,
"Maddeuwyd iti'n rhad." Amen.

M. H.

ECHADUR wyf, da gwyr fy NUW,
Llawn o archollion o bob rhyw;
ı byw mewn eisiau o waed y groes
b mynyd awr o'r dydd a'r nos.

olwg ar fy nghyflwr briw,
vys destyn i alaru yw;
ıd er mor ddu; fy enaid cân,
ae modd i olchi'r brwnt yn lân.

l hyn rwy'n canu ambell dro
n ddel gruddfanau'r Ardd i'm co'
ae'i angeu Ef yn troi fy nghri
ı gân yn ngolwg Calfari.

ı nghanol cyfyngderau caeth,
myrddiwn o ofidiau maith;
*ıd imi roddi* pwys fy mhen
*rphwys ar dy* fynwes wen. Amen.

## 71

M. H.

1 PECHADUR wyf, du iawn fy lliw,
Pechadur mawr yn erbyn Duw;
Ond cofiaf, er fy meiau trwch,
Fod Iesu 'n codi'r tlawd o'r llwch.

2 Addefaf fi fy mhechod cas
Yn erbyn cyfraith Duw a'i ras;
Fy nrwg sydd fawr—er hyn nid yw
O gyrhaedd gallu gras fy Nuw.

3 O maddeu, maddeu Di, O! Dduw,
A gâd i edifeiriol fyw;
Pe troid dy lid i'm herbyn i
Mi drengwn—cyfiawn fyddit Ti.

4 O Iesu, yn dy waed y mae
Digonol rinwedd i'm glanhau;
Ni wnai yr ebyrth gynt mo hyn,
Ond hwn a'm gylch fel eira'n wyn.

---

# Yr Wythnos cyn y P

DYODDEFAINT CRIST.

## 72

M. C.

1 O! DEWCH gan wylo gyda mi
I ganfod Iesu a'i loes;
*O! dewch ac* wylwn bawb yn ngh
*Mae'n Ceid*wad ar y groes.

2 Tywalltwn ddagrau'n lli wrth wel'd
Y milwyr drwg eu moes,
A'r Iuddew dall, yn gwatwar CRIST
Yn hongian ar y groes.

3 Saith waith llefarodd eiriau dwys,
Yn oriau trist ei loes,
O gariad pur at enaid dyn,
Wrth drengu ar y groes.

4 O deuwch, sefwch wrth Ei groes—
Mae rhinwedd yn y gwaed;
Cewch weled grym diferion hwn
I olchi'r brynta gaed.

5 Tyr'd enaid prudd, tyr'd galon drist,
Mae Meddyg it' i'w gael;
Mewn calon ddrylliog cariad drig,
Mae'r Iesu'n Geidwad hael.

6 O gariad Duw! O bechod dyn!
Mawr ymdrech rhyngoch fu;
Ond cariad lwyddodd ar y groes
Trwy rinwedd IESU cu. Amen.

## 73 M. C.

1 DAN bwys ein bai yn dyoddef poen
Bu'r Oen ar Galfari;
Rhoes i gyfiawnder, dan ei gur,
Iawn yn ein natur ni.

2 *Ar sail yr Iawn* mae CRIST ei Hun
*Yn eiriol yn y nef:*

Mae ynddo werth na thraetha neb
Ei anfeidroldeb ef.

3 Trwy rîn yr Iawn mae'r YSPRYD GLÂN
Yn puro'r aflan rai;
Am hwn y cân myrddiynau 'nghyd
Mewn gwynfyd pur didrai.

4 Beth dalaf am dy ddoniau gwiw,
A'th gariad pur dilyth?
Fy hunan iti rhof, O DDUW,
Dy eiddo fyddaf byth. **Amen.**

## 74 M. S.

1 NID oes, heb ollwng gwaed yn lli,
Faddeuant i bechadur;
Ni faddeu DUW ein bai heb hyn,
Nis gall, ni fyn ei natur.

2 Ond wele'i FAB ar bren y groes,
Yn dyoddef loes marwolaeth,
I agor ffordd maddeuant llawn
Trwy waed ei Iawn ehelaeth.

3 Yn nghanol ei arteithiau dwys
Dan eithaf pwys ein beiau,
O clywch E'n erfyn ar ei DAD
Yn ngrym ei gariad faddeu.

4 Cyn rhoddi fyny'r yspryd pur
*Dan bwys* ei gur angeuol,
*Mae'n dadleu* drosom yn ei loes,
*Ac ar y* groes yn eiriol.

5 O! boed y gras oedd yn ei fron,
Yn llenwi'm calon inau
At fy ngelynion yn ddigoll,
I'w caru oll a maddeu. Amen.

## 75

M. S.

1 PAN hoeliwyd IESU ar y pren,
Yr haul uwchben dywyllwyd;
Ond wele, yn y t'wyllwch mawr
Caed gwawr trwy'r gair "Gorphenwyd."

2 Pan y croeshoeliwyd IESU cu,
Pyrth uffern ddu a lonwyd;
Ond trodd y pyrth i siomiant trist
Pan lefodd CRIST "Gorphenwyd."

3 Pan y dechreuodd CRIST dristau,
Telynau'r nef ostegwyd;
Ond dyblodd can y drydedd nef
Pan lefodd Ef "Gorphenwyd."

4 Holl lafur CRIST trwy'i boenus daith.
A'i galedwaith ddybenwyd
Pan roes, â'i olaf anadl gref,
Yr uchel lef "Gorphenwyd."

5 Mae Duw yn maddeu a glanhau,
Yn angeu'r Oen a laddwyd;
A dyma waith Efengyl gref—
Adseinio'r llef "Gorphenwyd." Amen.

## 76

M. H.

1 *WRTH edrych,* IESU, ar dy groes,
*A meddwl* dyfnder d'angeu loes,

Pryd hyn 'r wyf yn dibrisio'r byd,
A'r holl ogoniant sy ynddo i gyd.

2 Gwelwch yn nwylaw'n Prynwr pur,
Ac yn ei draed Ef, hoelion dur;
Edrychwch ar y waywffon
Yn tori archoll dan ei fron.

3 Nâd fi ymddiried tra bwyf byw,
Ond yn dy angeu di, fy Nuw;
Dy boenau a dy farwol glwy
Gaiff fod yn ymffrost imi mwy.

4 Myfi aberthaf er dy glod,
Bob eilun sydd o tan y rhod;
Ac wrth fyfyrio ar dy waed,
Fe gwymp pob delw tan fy nhraed. Ame

## 77

M. H.

1 DAETH arfaeth fawr y nef i ben,
Bu'r Iesu farw ar y pren;
Agorodd ddrws, trwy'i boen a'i wae,
I'r Ganaan nefol sy'n parhau.

2 Wel weithian cwyd, fy enaid cu,
Dy lygaid tua'r nefoedd fry;
Gwêl yr anfeidrol berffaith Iawn
Sy'n maddeu'th bechod oll yn llawn.

3 Mae haeddiant yr Iachawdwr mawr
Yn dyoddef poen rhwng nef a llawr,
*Filiynau maith* yn fwy ei rîn,
*Na haeddiant* seintiau'r byd yn un.

Mae lleiaf loes Iachawdwr drud
Yn llawer mwy na beiau'r byd:
Un dafan gwaed, un dwfwn glwy',
Sydd drymach na'u heuogrwydd hwy. Amen.

## 8 M. N. 8. 7. D.

FELLY carodd" Duw wrthddrychau
Anhawddgara' erioed a fu;
"Felly carodd" fel y rhoddodd
Anwyl Fab ei fynwes gu.
Nid arbedodd, ond traddododd
Ef tros ein pechodau i gyd;
Taro'r Cyfaill, arbed gelyn—
"Felly carodd Duw y byd."

"Felly carodd," gan dosturio
'N rhad, wrth hunanddamniol ddyn;
"Felly carodd" yn anfeidrol
Deilwng byth o hono'i Hun:
Er arbediad gwrthryfelwyr
Gwnaeth ei Fab yn aberth drud;
Maddeu iddynt a'u cofleidio—
"Felly carodd Duw y byd."

"Felly carodd"—ond ni ddichon
I angylion nef y nef
Draethu, i oesau tragwyddoldeb,
Hyd a lled ei gariad Ef:
Dyfnach yw na dyfnder daear,
Uwch na'r nefoedd fawr i gyd;
Rhaid *yw tewi gyda* d'wedyd
"*Felly carodd* Duw y byd."

4 "Felly carodd"—hyfryd newydd!
Aed ar aden awel gref,
Nes i'w adsain gyrhaedd clustiau
Pob pechadur dan y nef.
"Felly carodd," "Felly carodd,"
Seinied pob creadur byw,
Fel b'o i'r dylanwad nerthol
Danio'r byd â chariad Duw. Amen.

## 79 M. N. 8. 7. D.

1 O! DDYFNDEROEDD iachawdwriaeth,
Dirgelwch mawr duwioldeb yw;
Duw y duwiau wedi ymddangos
Yn ngwael natur dynolryw:
Dyma'r Person a ddyoddefodd
Yn ein lle, ddigofaint llawn,
chyfiawnder waeddodd "Gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais Iawn."

2 Dyma babell y cyfarfod,
Dyma gymmod yn y gwaed,
Dyma noddfa i lofruddion,
Dyma i gleifion Feddyg rhad;
Dyma fan yn ymyl Duwdod
I bechadur wneyd ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd
Arno'n siriol wenu byth. Amen.

## 80 M. N. 8. 8. 6.

*1* A*I Iesu* mawr, Ffrind dynolryw,
*A welaf fry, a'i gnawd yn friw,*

A'i waed yn lliwio'r lle,
Fel gwr di-bris yn rhwym ar bren,
A'i waed yn dorchau ar ei ben?
Ie, f'enaid, dyma Fe!

Ai'm hanwyl Briod welaf draw,
A hoelion llymion trwy bob llaw,
A'u pwyo 'n drwm i dre',
Dan bwys ei gur yn gwyro'i ben
Gan dd'weyd "Gorphenwyd" ar y pren?
Ie, f'enaid, dyma Fe!

Ffydd! dacw'r man, a dacw'r pren
Yr hoeliwyd arno D'wysog nen,
Yn llariaidd yn fy lle;
Y ddraig ysigwyd gan Dduw-ddyn,
Gan's clwyfwyd dau, gorchfygodd UN—
A'r IESU oedd Efe. Amen.

M. N. 8. 8. 6.

'Y enaid, nac annghofia groes,
Annhraethol ing, a phoen, a loes,
Yr Oen difeius, pur;
n wg y byd ac uffern gref,
lwys ofynion llawn y nef,
Mor ddwfn a dwys ei gur!

leidwad cu condemnio wnaen',
fruddion lu a ddaeth yn mlaen,
geirwon hoelion dur;
n y pwys, er maint y poen,
wi *wnaeth* fel addfwyn Oen:
*'enaid* cofia'i gur.

3 Trywanwyd, do, fy Mhrynwr rhad,
Nes daeth o'i galon ddwr a gwaed,
Yn ffrwd fel afon bur;
Oedd ar y llawr i'w wel'd yn llyn,
Yn frwd ar ben Calfaria fryn:
O f'enaid cofia'i gur.

4 Dros f'enaid i bu'r addfwyn Oen
Fel hyn yn dyoddef dirfawr boen,
I'm gwneyd yn rhydd yn wir:
'Roedd yn ei fryd orphenu'r gwaith
O eithaf tragwyddoldeb maith:
Cân f'enaid am ei gur. Amen.

## 82 M. N. 8. 8. 6.

1 YN Eden, cofiaf hyny byth.
Collais fendithion rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw:
Ond buddugoliaeth Calfari
Ennillodd fwy yn ol i mi,
Mi ganaf tra b'wyf byw.

2 O Iesu mawr, fy Mhrynwr rhad,
O'th galon wiw daeth môr o waed,
I olchi'm dwfwn friw!
Rho imi nerth i wneyd fy nyth,
I'm henaid gael ymguddio byth
O fewn dy glwyfau gwiw. Amen.

## 83 M. N. 7. 6.

1 Y GWAED, y gwaed a lifodd
*Ar groes*bren un prydnawn,

Haeddiannau hwnw roddodd
  I'r ddeddf foddlonrwydd llawn:
Y gwaed, y gwaed a olcha
  Bechadur du yn wyn—
Dadseiniwn Haleluia
  Am waed Calfaria fryn.

Y gwaed, y gwaed a egyr
  Holl ddorau'r nefoedd lon;
Y gwaed, y gwaed rydd gysur
  Dan holl gurfeydd y fron:
Ar fryniau anfarwoldeb,
  Draw yn y nefol wlad,
Fy nghân i dragwyddoldeb
  Gaiff fod—Y gwaed, y gwaed. Amen

4 M. N. 7. 6.

BECHADUR, gwel yr IESU
  Yn hongian ar y groes,
Clyw ddwys ruddfanau'i enaid
  Dan ddyfnder angeu loes:
O! gwrandaw ar ei ruddfan—
  Mae pob ochenaid ddrud
Yn floedd yn nghlustiau'r nefoedd
  Am faddeu beiau'r byd.

Fe ddaeth i wella'n harcholl
  Trwy gym'ryd clwyf ei Hun;
Etifedd nef yn marw
  I wella euog ddyn:
Yn *sugno'n llwyr* y gwenwyn
  *A rôdd y sarph* i ni;

A thrwy y gwenwyn hwnw
Yn marw ar Galfari.

3 Ni fuasai genyf obaith
Am ddim ond fflamau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
A'r t'wyllwch dudew byth,
Oni buasai'r Hwn a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
O'i fawr anfeidrol gariad
I gofio am danaf fi. Amen.

## 85 M. N. 7. 6.

1 ANFEIDROL, fyth anfeidrol,
Yw cariad Iesu gwiw;
A ddichon ei amgyffred,
Rhaid fod ei hun yn Duw:
Nid oes na sant na seraph
O'r ddaear faith i'r nef,
All dd'weyd yn llawn am dano,
Na'i berffaith gynwys Ef.

2 Rhyfeddol oedd y cariad
At wael golledig ddyn;
Rhy fach o le i'w gynwys
Oedd mynwes Duw ei hun!
Fe redodd yn llifeiriol
O'r nefoedd wen i lawr;
Mae fel y môr yn esgyn
I'r nefoedd eto 'nawr.

3 *Un olwg* ar yr Iesu
*Ar fynydd* Calfari,

A dyr y galon galed
  Anfoddlon sy ynof fi;
Dystawa'r holl daranau,
  A'r bygythiadau gaed;
Fe gwymp euogrwydd pechod
  I waelod môr o waed. Amen.

## 86 M. B.

AI am ein beiau ni
  Dyoddefodd Iesu mawr
Pan ddaeth, yn ngrym ei gariad cu,
  O entrych nef i lawr!

Bu'n angeu i'n hangeu ni
  Wrth farw ar pren;
A thrwy ei waed y dygir llu,
  Trwy angeu, i'r nefoedd wen.

Cyflawnai'r gyfraith bur,
  Cyfiawnder gafodd Iawn;
Ar ddyled fawr, er cymmaint oedd,
  A dalodd Ef yn llawn.

Gorchfygodd uffern ddu,
  Gwnaeth ben y sarph yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu
  Trwy ras, i deulu Duw.

Pan grymodd Ef ei ben
  Wrth farw yn ein lle,
Agorodd *ffordd, pan* rwygai'r llen,
  *I bur drigfanau'r* ne'. Amen.

## 87

M. B.

1 NIS gallai gwaed yr holl
Aberthau i gyd o'r bron
Ro'i heddwch i'r gydwybod ddu,
Na golchi brynti hon.

2 Ond CRIST, y nefol Oen,
A ddŷg bechodau'r byd;
Ei Aberth Ef a'i waed sy fwy
Na phwysau rhai'n i gyd.

3 Gwnaeth IESU gymmod llawn,
Dyoddefodd angeu loes;
Y clod didrai, y mawl dilyth
Fo byth am waed y groes.

4 Mae gobaith f'enaid gwan,
Fy hyder, a fy ffydd,
Yn gwir orphwyso ar ei waed
Am lwyr lanhâd ryw ddydd.

5 Af ato fel yr wyf
I 'mofyn am iachâd;
A'm holl bechodau addef wnaf
Yn isel wrth ei draed. Amen.

## 88

M. N. 8. 8. 8.

1 NIS gall angylion nef y nef
Fynegi maint ei gariad Ef—
Mae angeu'r groes yn drech na'u
Bydd canu uwch am Galfari,
*Na chlywodd* yr angylion fry,
*Pan ddelo* Salem bur yn llawn.

2 Na boed im' feddwl ddydd na nos,
Ond cariad perffaith angeu'r groes;
Hwn alwa'i mwy yn orsedd gras:
Ar Galfari mae mainc y nef,
Yn agos at ei groesbren Ef—
Oddiyno rhoddir hedd i maes.

3 Wel dyma'r Cyfaill goreu gaed,
Mae'n ganmil gwell na mam na thad—
Yn mhob caledi ffyddlon yw;
Mae'n medru maddeu a chuddio bai,
Ac o'i wir fodd yn trugarhau
Wrth bechaduriaid gwael eu rhyw. Amen.

## 89

M. N. 8. 8. 8.

1 CAED concwest ar Galfaria fryn,
Am dani canodd myrdd cyn hyn—
Fe faeddwyd uffern fawr i gyd:
Fe brynwyd gwael golledig ddyn,
Fe wnawd y ddwyblaid ddig yn un,
A gwaed Iachawdwr mawr y byd.

2 Bu gruddfan caled arno Ef,
Nes crynu'r ddae'r a duo'r nef,
Nes rhwygo'r creigiau serth yn friw:
Gruddfanodd Ef, dyoddefodd wae,
Fel gallem ninau lawenhau,
A hoffi fyth a charu'n Duw.

3 *Boed oesau meithion* fwy na mwy,
*Heb rif, heb ddarfod* arnynt hwy,

I ganu am ei ddirfawr boen:
Na thawed tafod o un rhyw,
Na dim o dan y nef sy'n byw,
Ond sôn am goncwest addfwyn Oen. Am.

## 90 M. N. 8. 7. D.

1 DRAW, ar gopa bryn Golgotha,
Bu'r ymladdfa fwya' erioed—
'R Oen heb gleddau na grym arfau
'N sathru'r dreigiau dan ei droed:
Ef mewn lludded mawr a syched
Wrth orchfygu uffern lu;
Eto ffynnon yn ei galon
I olchi'n wyn yr Ethiop du.

2 Golch fy enaid yn y ffynnon,
Nes it' wneyd y brwnt yn lân;
Llanw 'nghalon oer, ddigariad,
A gwresogrwydd nefol dân:
Dyro ran o'r holl rinweddau
Pur sydd ynot Ti dy Hun,
Fel na byddwyf aflan mwyach,
Ond yn berffaith ar dy lun.

3 O! er mwyn y gwaed dywalltwyd,
Dwr a gwaed o'i ystlys Ef,
Tyn bob cwmwl sy'n tywyllu
Rhwng fy enaid 'nawr a'r nef:
Gad im' brofi ffrwyth ei glwyfau,
*Gad im'* deimlo rhîn ei waed;
*Gad im'* weled gwedd dy wyneb
*O fy Mhrynwr, a fy Nhad!* Amen.

M. N. 8. 7. D.

) eill moroedd mawrion, llydain,
;uddio pechod o un rhyw;
is gallodd dylif cadarn
ddi hwn—mae 'nawr yn fyw:
ed yr Oen fu ar Galfaria,
ıeddiant IESU a'i farwol glwy,
v'r môr lle caiff ei guddio,
th ni welir mo'no mwy.

ıa'r gwaed a roes foddlonol
th ddigonol berffaith Iawn;
r gyfrif hwn y derbyn
ıog ddyn faddeuant llawn;
ıa sail i lwch a lludw
beithio am lanhâd,
sau mewn hyder duwiol
; orseddfa nefol rad.

fo Sina i gyd yn mygu,
ıin yr udgorn uchaf radd,
fyn'd i wledda dros y terfyn
n ngrym yr Aberth, heb fy lladd:
ynddo'n trigo bob cyflawndor,
lon'd gwagle colledigaeth dyn;
r adwy rhwng y ddwyblaid
wnaeth heddwch trwy offrymu'i Hun.
Amen

M. N. 8. 7. D.

*FY enaid, c'od* dy olwg,
*Gwel yn amlwg* ben y bryn

Lle bu Iesu, 'r Cyfaill ffyddlon,
Dan yr hoelion dur cyn hyn:
I wneyd cymmod dros fy mhecho
Rhoddodd waed ei galon friw:
'R Oen diniweid welai'n marw,
Minau'r euog yn cael byw!

2 Iesu, Cyfaill pechaduriaid,
Welai'n hongian ar y pren;
Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo,
Draw yn crymu lawr ei ben:
Gwelaf eto fwy rhyfeddod
Yn nheilyngdod angeu loes—
Hedd yn rhedeg, megys afon,
Dan ei ddwyfron ar y groes!

3 Dyma Frenhin, dyma Brophwyd,
Dyma Archoffeiriad mawr;
Brawd a Phriod i bechadur,
Ceidwad llon i lwch y llawr;
Cyfoeth nef yn d'od i'r golwg
Rhwng y lladron ar y pren;
Angeu'i hun yn cwrdd a'i angeu,
Trwy farwolaeth Crist ein Pen

## 93 M. N. 8. 7. 8.

1 DACW'R ffynnon wedi'i hagor,
A ddysgwyliwyd lawer oes,
'Nawr yn llifo fel y grisial
*Maes* o'i ystlys ar y groes:
*Dwr* a gwaed, rydd iachad
*I'r* pechadur mwyaf gaed.

tardd cyfiawnder allan
. rhyw ddylif mawr didrai;
golchi miloedd ynddo,
l yw'r dyfroedd ronyn llai:
d fy Nuw, haeddiant yw,
ı na beiau o bob rhyw.

r mi glywa'r gair "Gorphenwyd"—
rphen iachawdwriaeth wir;
i wela'r gwaed yn llifo
)s ei ruddiau sanctaidd, pur;
r nef gadarn gref
r yn t'wyllu wrth ei lef.

u bellach a obeithiaf,
baith ag all estyn f'oes;
ith wedi ei sylfaenu
och'neidiau pur y groes:
a wlad caf iachad,
ıf gyflawn wir ryddhad. Amen.

M. N. 8. 7. 3.

LE cawsom y Messiah,
Cyfaill gwerthfawroca' erioed;
ı i Moses a'r Prophwydi
'weyd am dano cyn ei dd'od;
yw gwir Fab Duw,
d a Phrynwr dynolryw.

*yw'r Oen ar ben* Calfaria
*h i'r lladdfa yn* ein lle :

Swm ein dyled fawr a dalodd,
Ac fe groesodd filiau'r ne';
Trwy ei waed ini caed,
Bythol heddwch a rhyddhad.

3 Ca'dd cyfiawnder ei foddloni,
Ca'dd y gyfraith ei mawrhau;
Duw a ninau fu'n elynol,
Yn heddychol gwnawd y ddau;
Fe wnaeth ben, 'nawr mae'r llen
Wedi'i rhwygo o'r ddae'r i'r nen.

## 95 M. N. 8. 7.

1 O DDYFNDEROEDD! O ddo
O oludoedd maith o ras!
O ddirgelion anchwiliadwy!
Fythol uwch eu chwilio maes
Mae Seraphiaid nef yn edrych
Gyda syndod, bob yr un;
Ar ddyfnderoedd cariad Dwyfol
Duw yn marw dros y dyn.

2 O anfeidrol berffaith gariad!
Cariad nas gall gras na dawn
Dynion, na'r angylion penaf,
Fyth ei adrodd ef yn llawn.
Cariad fydd yn sylfaen gadarn
I bob anthem yn y nef;
*Seintiau* ac angylion draphlith
*Ganant* am ei gariad Ef.

6 M. N. 8. 7.

DYMA gariad fel y moroedd,
  Tosturiaethau fel y lli;
T'wysog bywyd pur yn marw,
  Marw i brynu'n bywyd ni.
Pwy all beidio cofio am dano?
  Pwy all beidio canu'i glod?
Dyma gariad nad â'n annghof
  Tra bo'r nefoedd wen mewn bod.

Ar Galfaria yr ymrwygodd
  Holl ffynhonau'r dyfnder mawr;
Torodd holl argaeau'r nefoedd
  Oedd yn gyfain hyd yn awr.
Grâs a chariad megys diluw
  Sy'n ymdywallt yma 'nghyd;
A chyfiawnder pur a heddwch
  Yn cysanu euog fyd. Amen.

7 M. H.

O HOLL weithredoedd nef yn un,
  Y benaf oll oedd prynu dyn;
Rhyfeddod mwyaf o bob oes—
Gwel'd Iesu 'n marw ar y groes!

Ar Galfari, rhwng dae'r a nef,
Llewyrchodd ei ogoniant Ef;
Un haul ymguddiodd y prydnawn,
A'r llall a wnaed yn eglur iawn.

O! fyfyddiwn rhyfeddodau'r groes,
*Dyoddefodd f'*Arglwydd angeu loes

Caru hyd at ddyoddef llid,
Caru a marw yr un pryd!

4 O ryfedd waith! Ti awyr fawr,
Tro d'amal lygad yma i lawr;
Rhyfedda gyda'r thronau fry,
Y cariad mawr ar Galfari. Amen

## 98 M. N. 8au. 8 llin.

1 CYFLAWNWYD y gyfraith i gyd
Fe ddofwyd ei llid heb ein llad
Cyfiawnder wrth hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd:
Cyfiawnder a'r gyfraith sy 'nawr
Yn edrych i lawr yn ddi-lid;
A'r priodoliaethau mewn hêdd
Yn gwaeddi "Trugaredd" i gyd.

2 Caed ffynnon o ddwfwr a gwaed
I olchi rhai duon eu lliw;
A'i ffrydiau a redodd yn rhad,
I'r ardal lle'r oeddwn yn byw:
Er cymmaint o rwystrau ga'dd ho
Grym arfaeth a'i gyrodd yn mla
I olchi tŷ Ddafydd o'r bron—
Ierusalem hefyd ddaw'n lân.

3 Wrth gofio'i ruddfanau'n yr Ardd
A'i chwŷs fel defnynau o waed,
Aredig ar gefn oedd mor hardd,
*A'i daro* a chleddyf ei Dad,

Ei arwain i Galfari fryn,
  A'i hoelio ar groesbren o'i fodd;
Pa dafod all dewi am hyn?
  Pa galon mor galed na thôdd? Amen.

9 M. N. 8au. 8 llin.

O GARIAD! O gariad mor rhad!
  O foroedd o gariad mor fawr!
Mab Uniganedig y Tad
  Ddisgynodd o'r nefoedd i lawr:
Cymerodd ei wneuthur yn gnawd—
  Dynoliaeth a Duwdod yn un;
Bu farw ar groesbren dan wawd,
  Yn lle ei elynion ei hun!

Pob archoll ro'i dynion i'w gnawd,
  Dylifai yn gariad trwy'r clwy';
Pan fwyaf ei ddirmyg a'i wawd,
  Gwnai cariad dd'od allan fwy-fwy:
Trwy'r clwyfau, yn rhedeg ar frys,
  Gwir ffrydiau o gariad a gaed;
Llifeiriai yn gariad trwy'r chwŷs,
  A chariad a lifai trwy'r gwaed.

Creulondeb llid dynion at GRIST
  Droes cariad i ddynion yn hedd;
Ei ddirmyg gofidus a thrist
  Droes cariad i ddynion yn wledd:
Yr angeu ergydiodd y byd
  At IESU, mewn dig a drwg wŷn,
Droes cariad yn ol, yr un pryd,
  *Yn fywyd tragwyddol i ddyn.* Amen.

## 100

M. N. 7au. 6ll.

1 DACW'R ffynnon heddyw gaed,
Dwfwr gloew pur a gwaed;
Dacw hi'n tarddu ar y bryn,
Ylch fy enaid brwnt yn wyn;
Dyma'm nerth i fyn'd yn mlaen,
Dyma sylfaen bur fy nghân.

2 Deffro, f'enaid, edrych draw,
Gwel Galfaria bell gerllaw;
Dacw'r hoel a'r bicell fain,
Dacw'r goron bigog ddrain
'Nawr yn gorwedd ar Ei ben—
Cryned daear, dued nen.

3 O'i archollion rhed i maes
Afon Ddwyfol, loew, las,
Sydd yn achub, sy'n glanhau
Miloedd o'r aflanaf rai;
Doed y ddaear fawr yn gron,
Yfent ddwr yr afon hon.

4 Yn nghyfryngdod IESU GRIST
Aros bellach, f'enaid trist;
Noddfa i lofruddion yw,
A chyfiawnder dynolryw.
Gorphwys tano, f'enaid prudd,
Nes êl heibio wres y dydd. Amen

## 101

M. N. 2. 8.

1 PA le
Y gwnaf fy noddfa dan y ne'

m ei glwyfau dyfnion E'?
ell gref aeth tan Ei fron
dd ffynnon i'm glanhau;
n llawenhau fod lle yn hon.

n
eto am y goron ddrain,
elion llym, a'r bicell fain,
gofio 'rhai'n caiff uffern glwy':
ynau tynion ânt yn rhydd;
ed y dydd—Hosanna mwy.

rth fy meiau aml eu rhi'
on waedlyd Calfari,
heddyw'n llif o haeddiant llawn;
trai ni welir arni mwy,
ry'n hwy na bore a nawn. Amen

M. N. 8. 7. 4.

' gariad, dacw bechod,
ddyw'n dan ar ben y bryn;
'n gryf, hwnacw'n gadarn—
ennilla'r ymgyrch hyn?
riad, cariad,
i'n perffaith gario'r dydd.

frudd ar ei aswy,
lofrudd ar ei dde;
'i hoeliwyd yn y canol
in daear, Frenhin ne';
*Mi apeliaf*
*orsedd ar y groes.*

3 Ni raid esgyn fry i'r nefoedd,
Y mae'r nefoedd ar y pren;
Plygai'r nefoedd at y ddaear
Pan ogwyddodd Ef ei ben;
Minau euog
Af am bardwn at y groes. Amen.

## 103 M. N. 8. 7. 4.

1 CLYWCH leferydd gras a chariad
O Galfaria'n seinio sydd;
Wele'r cedyrn greigiau'n hollti,
Haul yn t'wyllu ganol dydd:
Fe orphenwyd
Dwys ddolefai'r Iesu mawr.

2 O'r trysorau anchwiliadwy
A gynwysir yn y gair!
Môr diderfyn o fendithion
I dylodion ynddo gair:
Fe orphenwyd—
Ni bydd eisiau aberth mwy.

3 Adgyweirir pob rhyw delyn
Trwy y ddaear faith a'r nef,
Er cyd-daro'r anthem newydd
Heddyw a ddechreuodd Ef;
Fe orphenwyd—
Dyma gân na dderfydd byth. Amen.

## 104 M. C.

*1 HOELIEDIG* wrth y gwarthus bren
*Gwel Iesu,* Ceidwad dyn;

O ryfedd gariad! drosof fi
  Oen Duw sy'n rhoi ei Hun!

O clyw ei ruddfan, dae'r a gryn,
  Cryma colofnau'r byd;
Fe rwyga'r llen, a'r creigiau hyll
  A holltant yr un pryd.

"Derbyn fy yspryd" yw ei lef,
  "Gorphenwyd"—taliad gawd:
Gwel lle gogwydda'i sanctaidd ben,
  Gwel farw CRIST dy Frawd.

Ond buan tyr gadwynau'r bedd,
  Fe gyfyd mewn mawr fri;
O Ddwyfol Oen! p'le gwelir fath
  Dy ing a'th gariad Di! Amen.

05 M. C.

BOED dyoddefiadau pur y groes
  Fel olew i'm hiachau;
Gruddfanau dyfnion angeu loes
  Yn gwneyd im' lawenhau.

Dyoddefodd angeu, dygyn boen,
  A gofir tra fo nef;
Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy mraint,
  Fy noddfa lawn yw Ef.

Fe ro'dd ei ddwylaw pur ar led,
  Fe wisgodd goron ddrain;
*Er mwyn i'r brwnt* gael bod yn wyn
  *Fel hyfryd liain* main.

4 Mi dafla 'maich i lawr i gyd
Trwy rinwedd Dwyfol loes;
Euogrwydd, fel mynyddau'r byd,
Dry'n ganu wrth y groes. Amen.

## 106 M. B.

1 O WELE ar y groes
Bryniawdwr dynolryw,
Yn marw'n ufudd er ein mwyn,
I ni gael bythol fyw.

2 Mawr grynu wnaeth y ddae'r
Pan grymodd Ef ei ben;
Y celyd greigiau'n chwilfriw'r aent,
A rhwygo wnaeth y llen.

3 Yr haul yn ddu a aeth,
Tywyllodd yr holl dir,
Gan deimlo'n ddwys mewn galar-wisg
Arteithiau Crist a'i gur.

4 A fyddwn ninau'n fud,
Heb deimlo unrhyw loes
Am ein pechodau, y rhai a'i dyg
I ddyoddef ar y groes!

5 O! wylwn ger ei fron—
Bu farw drosom ni,
I'n gwneyd yn blant i Dduw, a'n dwyn
O'n gwae, i'r nefoedd fry.

6 *Pob clod fo i Ti,* ein Duw,
*A'n "Harchoffeiriad mawr,"*

n nerth hyd ben ein taith,
wyd uwch y llawr. Amen.

---

# Y Pasg.

M. N. 7. 4.

W cododd CRIST o'r bedd, Haleluia!
r ein tragwyddol hedd, Haleluia!
ynu ar y pren Haleluia!
u'r nefoedd wen. Haleluia!

: ein dyled mawr, Haleluia!
ydym ninau 'nawr; Haleluia!
odd Had y Wraig, Haleluia!
n, a phen y ddraig. Haleluia!

odd IESU 'n rhad, Haleluia!
ldol werthfawr waed, Haleluia!
efoedd deg i ni— Haleluia!
lrud ein braint a'n bri! Haleluia!

yr gyfarfod fry Haleluia!
in angylaidd lu, Haleluia!
oll drigolion nef Haleluia!
i glodfori Ef. Haleluia!
Amen.

M. S.

*CRIST o'r* bedd i fyny'n fyw
*rwol friw*, O canwn

Yn mysg y meirw mwy nid yw;
   Ein bywyd ydyw, canwn!
Hale

2 Mae pob awdurdod ganddo Ef
   Trwy'r ddae'r a'r nef, O canwn!
Ei fraich achubol sydd yn gref;
   Moliannwn Ef, a chanwn!
Hale

3 Nid allodd angeu'i ddal yn gaeth,
   Yn rhydd y daeth, O canwn!
Y bedd ac uffern 'spoilio wnaeth;
   Ei fuddugoliaeth ganwn.
Hale

4 Mae agoriadau rhai'n i gyd
   'Nawr ganddo hefyd, canwn!
Ein Priod yw Iachawdwr byd;
   Gall gadw'n bywyd, canwn!
Haleluia! A

## 109

M. N. 6. 8.

1 'NOL marw Brenhin hedd,
   A'i eiddo i gyd yn brudd,
Fe'i rhoed mewn newydd fedd,
   Ond codai'r trydydd dydd:
Boed hyn mewn cof gan Israel Duw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

2 Y Meichiau aeth yn rhydd
   'Nol rhoddi taliad llawn;
A *Duw* 'n cyhoeddi sydd,

wnaeth ffordd yn rhydd i fyn'd at Dduw,
ae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

Galarwyr Seion sydd
A'ch taith trwy ddwr a thân,
Pa'm byddwch mwy yn brudd?
Eich galar troer yn gân:
! cenwch etholedig ryw,
ae'r Oen a laddwyd eto'n fyw. Amen.

O M. N. 6. 8.

CYFODODD Brenhin hedd,
Iachawdwr dynolryw,
Mewn gogoneddus wedd,
O'r tywyll fedd yn fyw:
in bywiol Ben esgynodd fry
oruwch pob llu tu draw i'r llen.

O rwymau'r angeu caeth
Yn rhydd y daeth Mab Duw;
Gorchfygu'r bedd a wnaeth
Mewn buddugoliaeth wiw:
erbyniodd Ef bob gallu mawr
rwy'r ddaear lawr yn awr a'r nef.

Daw'r saint o lwch y bedd,
Ar wedd eu Priod cu,
I lawn dragwyddol wledd,
Mewn gwir orfoledd fry:
yrchafant draw o'r dyfnder cudd,
int dd'od yn rhydd, mae'r dydd gerllaw.

Amen.

## 111 M. N. 9. 8.

1 MIL henffych, foreuddydd gogone
Mae'n hoff genym weled dy w
Y dydd y daeth corph ein Hanwyly
Heb lygriad i'r bywyd o'r bedd:
Gogoniant holl flwyddyn y Cristior
A'i choron, ddydd tirion, wyt ti;
Mae'th lewyrch yn troi, mewn llaw
Pob Sul yn Basg newydd i ni.

2 O'r ymdrech, mewn llawn fuddugol
Daeth heddyw ein Penaeth heb l
Ysigodd ben Satan ein gelyn,
A maeddodd holl fyddin y fall:
Aeth Iesu yn angeu i angeu,
Gorchfygodd ei boenau, a'r bedd
Gorphenwyd y rhyfel dros Seion,
Mae heddyw yn hinon o hedd.

3 Pa'm bellach yr ofnaf farwolaeth?
Pa'm bellach yr ofnaf y bedd?
Cysegrodd yr Iesu'm tŷ olaf,
Yn hwnw mi hunaf mewn hedd:
'Ryw fore, fel f'Arglwydd a'm Ceid
Caf finau gyfodiad i fyw
Mewn tŷ o adeilad ysprydol,
Tragwyddol a nefol fy Nuw. A

## 112 M. C.

1 *BENDIGAID* fore teg ei wawr,
*Daeth* Iesu mawr o'r bedd;

Ca'dd fuddugoliaeth gyflawn, gu,
O'r carchar du ei wedd.

2 Er gorwedd mewn dystawrwydd dro
Yn mro marwolaeth brudd,
Ein Prynwr nefol codi wnaeth
Pan ddaeth y trydydd dydd.

3 Nis gallai'r bedd nac uffern drist
Mo atal CRIST i'r lan;
Disymwth iawn daeth daeargryn
I ddryllio'r gadwyn wan.

4 I'th Enw mawr, ein HARGLWYDD mâd,
Dyrchafwn ganiad hy';
A seiniwn oll Hosanna'n rhydd
Ar ddydd ein HARGLWYDD cu. Amen.

## 113 M. N. 8. 7. D.

WELE IESU, 'r Pen Rhyfelwr
Yn d'od i'r lan o Edom wlad,
'N hardd ei wisg, a'i fraich yn rymus,
A'r ddraig yn glwyfus dan ei draed;
Am yr hyfryd fuddugoliaeth,
Canaf enyd ar y llawr,
Nes dêl hyfryd fore'r canu
Draw yn nhragwyddoldeb mawr.

Cadben mawr ein hiachawdwriaeth
Welaf yn y frwydr hon,
A gelynion ei *ddyweddi*
*'N gorfod plygu* ger ei fron:

Plant afradlon sy'n d'od adref,
A fu 'mhell o dir eu gwlad;
Rhai fu'n fudion sy'n clodfori
Duw, am iachawdwriaeth rad. Am

## 114 M. N. 8. 7. D.

1 HOELIODD ddeddf yr ordeiniadau
Oedd i'n herbyn, wrth y groes,
Gan yspeilio'r awdurdodau,
Pan yn goddef angeu loes;
Cododd faner wen trugaredd,
Drylliodd gedyrn byrth y bedd,
Seiniodd Iubil lawn i'r caethion,
Ac arlwyodd radlawn wledd.

2 Agoriadau y llywodraeth
Grogwyd wrth ei wregys Ef;
Rhoddwyd iddo bob awdurdod
Yn y ddae'r ac yn y nef;
Marchog mae yn ngherbyd cariad,
Ei osgorddlu yw engyl nef:
Sigla cedyrn byrth y fagddu
Hyd eu sail, wrth rym ei lef. Amen

## 115 M. N. 6. 4.

1 NIS gallodd angeu du
Ddal IESU 'n gaeth
Ddim hwy na'r trydydd dydd—
Yn rhydd y daeth:
*Ni ddelir* un o'i blant,
*Er myn'd* i bant y bedd;

Fe'u gwelir ger ei fron
 Yn llon eu gwedd.

2 Wrth weled angeu du
 Yn nesu'n awr,
'R wy'n ofni ambell dro
 With gofio'r awr:
Pan gwelwy'r gwaith, trwy ffydd,
 Y trydydd dydd wnaeth Duw,
Mae 'ngobaith yn fwy cry'
 Do'i fyny'n fyw.

3 Fe genir cyn bo hir
 Yn glir ei glod:
Rhyfeddu'r cariad fydd
 Y dydd sy'n d'od:
Dadseinir "Iddo Ef"
 Yn lân gan nefol lu;
Mynegant rinwedd gwaed
 Y Ceidwad cu. Amen.

## 116 M. N. 8au. 8ll.

1 PWY welaf o Edom yn d'od
 Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru dan wadn ei droed
 Elynion yn lluoedd i'r llawr!
Ei wisg wedi'i lliwio gan waed,
 Ei saethau a'i gleddyf yn llym;
Ei harddwch yn llenwi'r holl wlad
 Yn ymdaith yn amlder ei rym.'

2 Myfi, 'r *Hwn wyf* Alpha cyn byd,
 *Wyf gadarn i ladd* a bywhau;

Fy ngeiriau a safant i gyd
  Pan ballo ffyddlondeb pob rhai.
Ond pa'm mae dy wisgoedd yn waed,
  A'th gleddyf cyn goched ei fin,
Fel un a fu'n sathru dan draed
  Y gwinwrŷf yn ngwinllan y gwin?

3 Wrth weled y fyddin mor fawr,
  Dan arfau, yn llawnion o lid,
Yn llanw holl wyneb y llawr,
  Y bobloedd a giliodd i gyd,
A'm gadael yn unig heb ail,
  I sefyll yn ngwyneb fy nghas—
Gelynion cyn amled a'r dail
  Yn llenwi holl gyrau y maes.

4 Mi godais i fyny fy llaw,
  Ymleddais, ennillais y dydd;
Fy holl waredigion a ddaw,
  A'm caethion a roddir yn rhydd:
Ennillais fath goncwest trwy waed,
  Mae genyf lywodraeth mor fawr,
Hyd eithaf trigfanau fy Nhad—
  Mae'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr.

Am

## 117

M. N. 8au. 8ll.

1 MI wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
  A'm prynodd â thaliad mor ddrud;
*Fe saif* ar y ddaear, gwir yw,
  *Yn* niwedd holl oesoedd y byd:

Er ised, er gwaeled fy ngwedd,
Teyrnasu mae 'Mhrynwr a' Mrawd;
Ac er fy malurio'n y bedd,
Ca'i weled Ef eto'n fy nghnawd.

2 Boed arno fy ngolwg bob dydd,
A'i Aberth anfeidrol ei werth:
Gwir Awdwr, Perffeithiwr fy ffydd,
Fe'm cynal ar lwybrau blin, serth:
Fy enaid, ymestyn yn mlaen,
Na orphwys nes cyrhaedd y tir,—
Y Ganaan dragwyddol a'i chân,
Y Sabboth hyfrydol yn wir. Amen.

## 118 M. H.

1 NEWYDDION braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go',
Fod Iesu wedi cael y dydd;
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Cyfododd yn ei erbyn Ef
Y ddaear, uffern, do, a'r nef;
Ond sefyll wnaeth ein Prynwr drud,
Dan eithaf dig y rhai'n i gyd.

3 Ein holl elynion sydd yn awr
Mewn cadwyn gan ein Prynwr mawr;
Fy enaid, bellach cwyd dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wen.
Amen

## 119

M. H.

1 NID brenhin braw yw angeu'n awr,
Er pan gyfododd Iesu mawr;
Fe dynodd Ef ei golyn llym,
Yspeiliodd uffern fawr ei grym.

2 Blant dynion, codwch fyny'ch llef,
A'ch holl galonau ato Ef,
Mewn pur ganiadau yn gytûn,
I foli'r Prynwr—Duw a dyn.

3 Angylion â'ch telynau de'wch,
Y peraidd dannau uwchaf t'rewch,
A holl drigolion nef a llawr,
Cydseiniwch glod yr Iesu mawr. Amen.

## 120

M. N. 7. 6.

1 YR Iesu adgyfododd
Yn ogoneddus iawn;
Daeth bore teg a hyfryd,
'Nol 'stormus, ddu brydnawn;
Y gadwyn fawr a dorodd
Ar wawr y trydydd dydd,
Gorchfygodd angeu'i hunan,
O'r carchar daeth yn rhydd.

2 Er gwaetha'r maen a'r milwyr,
Do, cododd Iesu 'n fyw;
Daeth yn ei law allnog
A phardwn dynolryw:
*Gwnaeth* etifeddion uffern

Fy enaid byth na thawed
  A chanu iddo Ef.

I fyny daeth o Edom,
  A'i wisg yn goch ei lliw;
Nis gall'sai un creadur,
  Mewn cadwyn gadw Duw:
Fe dynodd golyn angeu,
  Agorodd ddrysau'r bedd,
Palmantodd ffordd o'r ddaear
  I ganol gwlad yr hedd. Amen.

## 21 M. N. 8. 7. 3.

WELE'R ddyled wedi'i thalu!
  Dacw'r ddraig a'i phen yn friw!
Meichiau anwyl pechaduriaid
  Wedi d'od o'r bedd yn fyw;
Digon yw, Iesu gwiw,
Gwelir Seion dlawd o'i briw.

Wele'r ddaear faith yn crynu!
  Saint yn d'od o'u gwely pridd!
Bedd yn wag, heb ddim ond ll'einiau,
  Brawf i'r Iesu gael y dydd!
Brwydr yw 'nillodd Duw,
Cedwir euog ddyn yn fyw.

Wele angeu heb ei golyn
  Boreu llon y trydydd dydd!
Allwe'r bedd wrth wregys Iesu!
  Plant marwolaeth ddônt yn rhydd:
Ni gawn wledd, nefol hedd,
*Drylliodd Iesu byrth y bedd.* Amen.

# Y Dyrchafael.

## 122

M. N. 7au.

1 WELE angeu llym ei gledd,
Wele agoriadau'r bedd,
Wele nef a daear lawr
Tan awdurdod IESU mawr. Ha

2 Fry esgynodd Mab y Dyn
Trwy ei werthfawr waed ei Hun;
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef
I fawr werth ei Aberth Ef. Ha

3 Eistedd mae'n Cyfryngwr mawr
Ar orseddfa'r nef yn awr;
Yno'n dadleu'i angeu drud—
Iawn digonol dros y byd. Ha

4 Prynedigaeth dynolryw
A orphenodd IESU gwiw:
Holl dylwythau daear faith
Canent mwy ei foliant maith. Ha

Boed gogoniant fyth i'r TAD,
Boed gogoniant i'r MAB rhad;
Moliant boed i'r YSPRYD GLÂN
Byth, tra b'o na chwyth na chân. Ha

## 123

M. C.

1 *DYRCHAFER* Enw IESU gwiw
*Gan* seintiau is y nen;

A holl aneirif luoedd nef,
  Coronwch Ef yn ben.

2 Angylion glân sy'n gwylio'n gylch
  Oddeutu'r orsedd wen—
Gosgorddion ei lywodraeth gref,
  Coronwch Ef yn ben.

3 Hardd lu'r Merthyri sydd uwchlaw
  Erlyniaeth, braw, na sen,
A llafar glod ac uchel lef
  Coronwch Ef yn ben.

4 Yr holl Brophwydi 'nawr sy'n gwel'd
  Yr Iesu mawr heb len,
A'r Apostolion yn gyd-lef,
  Coronwch Ef yn ben.

5 Yn uchaf oll bo Enw'r Hwn
  Fu farw ar y Pren;
Trwy'r ddaear faith ac yn y nef
  Coroner Ef yn ben. Amen.

## 124 M. H.

1 I'R lan o'r bedd ein Harglwydd ddaeth,
  Esgynodd fry tu fewn i'r llen;
Galluoedd uffern ddŷg yn gaeth,
  Trwy'r awyr lâs hyd entrych nen.

2 O flaen ei gerbyd dysglaer Ef
  Bloeddiai angylion ar bob llaw,—
"Eich penau codwch, byrth y nef;
  Chwi *ddrysau oesol* ciliwch draw.

3 "Yn llydan gwnewch y ffordd yn rhyd
A throwch yn ol, chwi folltau'r gwav
Gwiw Frenhin y gogoniant sydd
Yn d'od i mewn, mae ganddo hawl."

4 "Pwy ydyw'r Brenhin nefol?"—"Pwy
"Yr ARGLWYDD nerthol cryf mewn c
Ei holl elynion maeddodd hwy,
Yn awr mae'n esgyn at ei DAD."

5 "Codwch eich penau nefol byrth,
Ddrysau tragwyddol rhoddwch le;
A'i gadarn fraich gwnaeth nefol wyrth,
Brenhin gogoniant yw Efe." Amen

## 125 M. H.

1 WEL, dyma gariad uwch pob gradd—
Bu farw'r Oen dros euog rai!
Ond llawenhawn; er cael ei ladd
Mae heddyw'n fyw i faddeu bai.

2 Gadawai'r bedd, IOR cadarn oedd;
Esgynodd adre at ei DAD;
Angylion fyrdd, â llawen floedd,
Croesawent Ef i'r nefol wlad.

3 O! Seion wan bydd lawen iawn
Wrth gofio ymdrech IESU cu;
Ennillodd fuddugoliaeth lawn
A'r uffern fawr, ac angeu du.

4 *Byth, byth* teyrnasa Frenhin hedd;
*Achub fyrddiynau* trwy dy waed;

Darostwng uffern, myn y bedd,
A'th holl elynion dan dy draed. Amen.

## 26 M. N. 6. 8.

CYFODODD IESU 'n wir,
Meddiannodd orsedd nef;
Trysorau'r nefol dir
Sydd yn ei feddiant Ef;
Mae'n Llywydd cryf ar nen a llawr,
Ar angeu, bedd, ac uffern fawr.

Cynhesodd, do, i ni,
Oer wely llaith y bedd,
Gan ei bereiddio'n gu
I etifeddion hedd:
Mae heddyw'n fyw uwchlaw pob gwae;
Awn ar ei ol i'r man lle mae.

Os temptasiynau blin
Gawn eto fwy na mwy;
Fe'i temptiwyd Ef ei Hun,
Fe'n cynhorthwya trwy:
Brawd erbyn dydd caledi yw;
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw. Amen.

## 27 M. C.

ESGYNODD CRIST, ein Ceidwad mawr,
Goruwch y nef mae'n Ben;
Heddychodd Ef y nef a'r llawr,
*Trwy farw ar y pren.*

2 Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r TAD,
Ar orsedd fawr y nef;
Ac y mae'r cyfan sydd mewn bod
Dan ei awdurdod Ef.

3 Mae yno'n eiriol drosom ni,
Ar sail ei aberth drud;
Boed iddo glod, a mawl, a bri,
Gan holl dylwythau'r byd. Amen.

## 128 M. C.

1 CYDGANWN âg angylion glân
O flaen yr orsedd mwy;
Tafodau fyrdd sy'n seinio cân,
Ond un eu testyn hwy.

2 "Teilwng yw'r Oen byth," medd y rhai'
"O'r clod, y parch, a'r bri."
"Teilwng yw'r Oen," atebwn sain,
"A'i waed fe'n prynodd ni."

3 Efe sydd deilwng byth i gael
Pob urddas, nerth, a chlod;
Bendithion fyrdd i'n HARGLWYDD hael
Byth, byth a fyddo'n bod.

4 Cydganed nef a daear lawr
Glodforedd per diboen
*I'r Hwn* sydd ar yr orsedd fawr,
*A mawl* dilyth i'r Oen. Amen.

# Sul ar ol y Dyrchafael.

## ERFYNIADAU AM Y DYDDANYDD.

---

29 M. N. 8. 8. 8.

O'R graig y mae'n dylifo maes
Yr afon ddysglaer, loew, las,
Sef Craig yr oesoedd, cadarn yw:
A thyma'r man y gwnaf fy lle—
Tan gysgod tawel furiau'r ne',
Lle caf ddyddanwch tra f'wyf byw.

Tydi addewaist, ARGLWYDD mawr,
Y deu'r Dyddanydd ata'i lawr,
Na chawn i farw o dristwch mwy.
DDUW! cyflawna'th air i ben,
ho im' Arweinydd îs y nen
Ddangoso'r ffordd, iachâo 'nghlwy'.

anfon y Dyddanydd pur,
golofn dân mewn anial dir,
Sy'n dwyn y praidd o'r Aipht i'r nef:
Hwn, â'i oleu perffaith, sydd
gwneuthur nos yn ganol dydd—
'y holl ddyddanwch ydyw Ef. Amen

M. N. 8. 8. 6.

R'D YSPRYD GLÂN, o'r nef i lawr,
Ddyddanydd pur, O! tyr'd yn awr
gwael fynwesau ni:
*ni brofi'th nefol* ddawn,

'R addewid doed i ben yn llawn,
Dyddanydd gwir wyt Ti.

2 Cyflawna addewid fawr y TAD,
O! tyred yn dy gariad rhad,
Rho brofi'th nefol rîn:
O! gwel ni mewn galarus wedd
Yn dysgwyl am dy hyfryd hedd:
Cysura'n henaid blin.

3 O! disgyn arnom YSPRYD gras,
A llwyr farweiddia'n llygredd cas,
Trwy'th weithrediadau gwiw;
A dwg ni mewn i ryddid gwir,
I'th foli di â chalon bur
Tra b'om ar dir y byw. Amen.

## 131 M. H.

1 O! TYRED, y gogleddwynt clir,
Anadla ar dy lysiau pur;
Ac oni ddeui mewn iawn bryd,
Fe wywa'r grasau oll i gyd.

2 Tyr'd â'r awelon hyny lawr
Sy'n deffro'r arg'oeddiadau mawr;
Tyr'd dithau, y deheuwynt clyd,
Sy'n cludo'n henaid uwch y byd.

3 Doed pob awelon yn eu lle,
I godi'm hyspryd tua thre';
*Gwnaed* pob rhyw foddion, pob rhyw dd[illegible]
*I'th lysiau* berarogli'n iawn.

4 O Tyr'd i'th Ardd, f'Anwylyd pur,
Mae'r amser hebot yma'n hir;
Bwyta dy ffrwyth, o nefol rîn,
Pereiddiaf, blenaist Ti dy Hun. Amen.

## 132

M. H.

1 TYR'D, nefol G'lomen, oddi fry,
A ch'od ni ar d'adenydd cu;
Esgyn, a dwg ni fyny'n grwn
Uwchlaw holl bethau'r bywyd hwn.

2 O am gael golwg hoff o'r wlad,
A gorsedd ein tragwyddol DAD,
Lle'r eiste'n Prynwr mawr ei fri
Mewn corph cyffelyb i'n cyrph ni.

3 Pa bryd daw'r dydd, fy anwyl DDUW,
Y caf fi esgyn yno i fyw,
Sefyll a phlygu yn eu plith,
Gwel'd, caru, a moli f'ARGLWYDD byth?
Amen.

## 133

M. N. 7au. 4ll.

1 YSPRYD GLÂN, Colomen nef,
Gwrando'n rasol ar ein llef;
Aethom yn wywedig iawn,
Disgyn yn Dy fywiol ddawn.

2 Oer ein serch, a gwan ein ffydd,
Ein Hosanna'n ddystaw sydd;
Tyred, *tyred, YSPRYD GLÂN,*
*Chwyth o'n mewn y* nefol dân.

3 Er na haeddwn ni dy gael,
Eto Ti wyt YSPRYD hael;
Tyred, tyred, yn dy ras,
Maedda'n hanngrhediniaeth cas.

4 YSPRYD GLÂN, Colomen nef,
Côd ni ar dy aden gref,
Nes yr elom uwch y byd
Mewn sancteiddiol, nefol fryd. Ame

## Y Sulgwyn.

### 134 M. H.

1 BYWHA dy waith, O ARGLWYDD ma
Dros holl derfynau daear lawr,
Trwy roi tywalltiad nerthol iawn
O'r YSPRYD GLÂN a'i ddwyfol ddawn.

2 Bywhâ dy waith o fewn ein tir,
Arddeliad mawr f'o ar y gwir;
Mewn nerth y bo'r efengyl lawn,
Er iachawdwriaeth llawer iawn.

3 Bywhâ dy waith a fewn dy Dŷ,
A gwna dy weision oll yn hy';
Gwisg hwynt â nerth yr YSPRYD GLÂ
A'th air o'u mewn f'o megys tân.

4 *Bywhâ dy* waith, O ARGLWYDD mawr
*O fewn ein* calon ninau 'nawr,

Er cynnydd pob rhyw nefol ras,
A marwhâd pob pechod cas. Amen.

## 135 M. H.

1 BYWYD y meirw, tyr'd i'n plith,
A thrwy dy YSPRYD arnom chwyth;
Anadla'n rymus ar y glyn,
Fel byddo byw yr esgyrn hyn.

2 O tyred, anadl gref, fel gynt,
Yn awr oddiwrth y pedwar gwynt;
Tyr'd, YSPRYD GLÂN, anadla Di
Ar esgyrn sychion megys ni.

3 Trwy bwrcas angeu CRIST ein Pen,
Yr Hwn fu'n dyoddef ar y pren;
Yr YSPRYD SANCTAIDD oddifry
Ddisgyno'n helaeth arnom ni. Amen.

## 136 M. N. 6. 6. 4.

1 O TYRED, Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr
Gawodydd pur;
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn
O'r anial dir.

2 O Brynwr mawr y byd
Tyr'd *bellach*—*mae'n* llawn bryd—
*Mae yn brydnawn*:

Gad ini wel'd dy ras
Ar frys yn tori maes,
Dros wyneb daear lâs,
Yn genllif llawn.

2 Mae peraroglau'th ras
Yn taenu o gylch i maes
Awelon hedd;
Estroniaid sydd yn d'od,
O'r pellder eitha' erioed,
I gwympo wrth dy droed,
A gwel'd dy wedd.

3 O tyred, Awdwr hedd,
A chyfod ni o'r bedd,
Y pydew prudd:
Ein henaid, gruddfan mae,
Am gael ei wir iachau—
O'th ras, tyr'd yma'n glau,
A rho ni'n rhydd. Amen.

## 137 M. C.

1 O! NEFOL awel, chwyth yn awr,
Mae bellach yn hwyrhau:
Er mwyn dy Enw, ARGLWYDD mawr,
O tyred i'n bywhau.

2 O! Ddwyfol, annorchfygol nerth,
Datguddia'r Aberth mawr,
*Rhinweddau'r* gwaed, yr Iawn, y gwerth
*Datguddia* ini 'nawr.

' Ddyddanydd Eglwys Dduw
wylia yn ein plith;
'ain ni fel byddom byw
n dy nefol wlith. Amen.

M. C.

, anfon Di yr Ysbryd Glân,
Enw Iesu mawr,
thrediadau megys tân:
fon Ef i lawr!

l'addewid fawr ei gwerth,
wallt oddifry
pryd Sanctaidd, gyda nerth,
ithio ynom ni.

l'addewid, Arglwydd mawr,
wr hon anfon Di
' Ddyddanydd Glân i lawr
os gyda ni.

d'addewid anfon Ef
gyhoeddi'r byd,
vain etifeddion nef
d'od i'r Ganaan glyd. Amen.

M. C.

ERIN wyf, mewn anial dir,
crwydro yma' thraw;
rhyw ddysgwyl bob yr awr
*tŷ fy Nhad ger* llaw.

2 O tyred Ysbryd Sanctaidd, Pur,
Nertha 'mlinedig draed;
A rho im' olwg oleu, glir,
Ar hyfryd dir fy ngwlad.

3 Tyr'd Ysbryd Sanctaidd, ledia'r ffordd,
Bydd imi'n niwl a thân;
Ni cherdda' i'n gywir haner cam
Oni byddi o fy mlaen.

4 Mi wyraf weithiau ar y dde
Ac ar yr aswy law:
Am hyny arwain gam a cham
Fi i'r Baradwys draw. Amen.

## 140 M. N. 8. 7. 4.

1 RHO olenui, rho ddoethineb,
Rho dangnefedd fo'n parhau;
Rho lawenydd heb ddim diwedd,
Rho faddeuant am bob bai,
Rho dy Ysbryd,
Gwnaed ei drigfan dan fy mron.

2 Mae dy Ysbryd Di yn fywyd,
Mae dy Ysbryd Di yn dân;
Ef sy'n dwyn yr holl fforddolion
Cywir, sanctaidd, pur yn mlaen:
Cyfarwyddwr
Pererinion arwain fi.

*3 O Lân Ysbryd yr addewid,*
*Tyred yn* dy ddawn dilyth;

Mae dy ras yn ddigyfnewid,
Gweithia'n rymus yn ein plith:
Deffro'r Eglwys,
Achub, argyhoedda'r byd. Amen.

## 141 M. N. 8. 7. 4.

1 NERTHOEDD y tragwyddol YSPRYD
Yn haeddiannau'r Dwyfol Iawn,
Wna i'r fynwes ddiffaith, galed,
I ffrwythloni'n hyfryd iawn,
O rasusau—
Pêr blanhigion nefol wlad.

2 Creigiau tanllyd Salem waedlyd,
Rhai fu'n bloeddio âg un llef
Am Dywysog mawr y Bywyd—
"Ymaith, O! croeshoelier Ef:"
Gwnaeth i'r rhei'ny
Wylo edifeirwch pur.

3 Os disgyni, addfwyn YSPRYD,
I fynwesau fel rhai hyn,
A'u haddurno â phur ddelw
Y Gwr fu farw ar y bryn,
Mawl a seinia
Trwy'r holl nefoedd fawr am hyn. Amen.

## 142 M. N. 7. 6.

1 O DDUW! rho im' dy YSPRYD—
Dy YSPRYD ddaw a gwres;
Dy YSPRYD ddaw a'm henaid
*I'r nefoedd wen* yn nes;

Dy Yspryd sy'n goleuo,
Dy Yspryd sy'n bywhau,
Dy Yspryd sydd yn puro,
Sancteiddio a glanhau.

2 Dy Yspryd sy'n datguddio
Yr heirdd drysorau drud,
Na chenfydd llygad natur—
Cuddiedig iawn i'r byd:
Dy Yspryd sydd yn enyn
Cynhesol, nefol dân;
Dy Yspryd pur yn unig
Sydd yn melysu 'nghân.

3 Dy Yspryd sydd yn cynal
Y baban gwan ei ras;
Yn nerthu'r enaid egwan
Sy'n ofni colli'r maes;
Dy Yspryd sy'n gwasgaru
Pob cwmwl tywyll, du:
Gwna fi, trwy nerth dy Yspryd,
Yn gadarn ac yn hy'. Amen.

## 143 M. N. 7. 6.

1 O ARGLWYDD dyro awel,
A hono'n awel gref,
A godo f'yspryd egwan
O'r ddaear hyd y nef:
Yr awel sy'n gwasgaru
Y tew gymylau mawr,
*Mae f'enaid am ei theimlo:*
*O'r nefoedd doed i lawr.*

Awelon mynydd Seion
  Sy'n enyn nefol dân;
Awelon mynydd Seion
  A nertha 'nghamrau 'mlaen:
Dan awel mynydd Seion
  Mi genais beth cyn hyn;
Mi ganaf ronyn eto
  Nes d'od i Seion fryn. Amen.

44 M. N. 7. 6.

O YSPRYDD sancteiddiolaf,
  Anadla arna'i lawr,
O'r cariad anchwiliadwy
  Sy 'nghalon IESU mawr:
Trwy haeddiant Oen Calfaria,
  Ac yn ei glwyfau'n rhad,
'Rwy'n dysgwyl pob rhyw ronyn
  O burdeb gan fy NHAD.

Wel dyma'r man dysgwyliaf
  O fore hyd brydnawn,
Ar fy eilunod taeog
  Fod yn goncwerwr llawn:
Dy YSPRYD, IESU grasol,
  A all fy ngwneyd yn lân;
Mil mwy sydd ganddo o allu
  Nag sydd yn uffern dân.

O YSPRYD pur nefolaidd,
  Cyn 'r elwyf lawr i'r bedd,
Trwy ryw *athrawiaeth* hyfry
  *Gad imi brofi'th* hedd!

Cael profi blâs maddeuant,
Maddeuant llawn a rhad,
Yw'r cyntaf peth wy'n geisio
Yn awr, trwy rîn y gwaed. Amen.

# 145 M. S.

1 TYR'D YSPRYD GLÂN, i'n c'lonau ni,
A dod d'oleuni nefol:
Tydi wyt YSPRYD CRIST, dy ddawn
Sy fawr iawn a rhagorol.

2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau:
Dod eli'n llygaid, fel i'th saint,
Ac enaint i'n hwynebau.

3 Gwasgara di'n gelynion trwch,
A heddwch dyro ini:
Os T'wysog ini fydd DUW NEB,
Pob peth fydd er daioni.

4 Dysg in' adnabod y DUW TAD,
Y gwir FAB rhad, a Thithau;
Yn un tragwyddol DDUW i fod,
Yr hynod dri Phersonau.

5 Fel y molianner yn mhob oes,
Y DUW a roes drugaredd;
*Y TAD, y MAB, a'r YSPRYD GLÂN,—*
*Da datgan* ei anrhydedd. Amen.

6 M. S.

[?]YR'D, YSPRYD GLÂN, tragwyddol DDUW,
 Yr unrhyw a'r TAD nefol:
'r unrhyw hefyd a'r MAB rhad,
 Duw cariad tangnefeddol.

lewyrcha'n c'lonau ni â'th ras,
 Fel byddo gas in' bechu:
c ini, mewn sancteiddrwydd rhydd,
 Bob dydd dy wasanaethu.

'ydi addewaist ddysgu, ION,
 Dy weision i lefaru:
'el yn mhob man y caffo'n rhwydd
 Yr ARGLWYDD ei foliannu.

YSPRYD GLÂN! i'n c'lonau ni
 Y gwir oleuni danfon:
hefyd sel, tra fyddom byw,
 I garu DUW yn ffyddlon. Amen.

---

# Sul y Drindod.

7 M. H.

) ARGLWYDD DDUW, sancteid
 O IESU GRIST yr Un MAB rhad,
) YSPRYD nef, Ddyddanydd GLÂN,
Jn *Duw tragwyddol di*-wahân.

2 DRINDOD yn UNDOD mawr dy nerth,
Gwir DDUWDOD o anfeidrol werth,
Llewyrch angylion—noddfa glyd
I'r gwan—a'n gobaith oll i gyd.

3 Ar bob rhyw beth mae genyt hawl,
Y greadigaeth gân Dy fawl;
Ninau ddadseiniwn lafar lef,—
O! erglyw ni o gaerau'r nef.

4 A rhoddwn it' ogoniant gwiw,
Hardd DRI yn UN, oruchel DDUW;
Emyn, a mawl, a pharch dilyth,
A weddant iti, ARGLWYDD, byth. Amen.

## 148 M. H.

1 I'R DRINDOD sanctaidd lân ddilyth
Datganwn Haleluia byth;
Dadseiniwn fawl yr ARGLWYDD RI,
Y TRI yn UN a'r UN yn DRI.

2 I'r TAD a'i gariad rhoddwn glod;
O'r Ffynnon nefol hon mae'n dod
Afonydd o lawenydd fry,
A'r ffrydiau cysur yma sy.

3 Gogoniant i FAB DUW o'r nef,
O'i fynwes archolledig Ef
*Daeth gwerthfawr ffrwd o fywiol waed,
Rydd ini fywyd ac iachâd.*

4 Rhown glod i'r YSPRYD GLÂN bob pryd,—
Hwn yn ein calon ddrwg a ddyd
Ei ras, fel ffynnon fywiol hardd,
Ag i ogoniant fyth a dardd.

5 I'r TAD, ar MAB, ar YSPRYD GLÂN,
Un Duw gogufuwch, di-wahân,
Boed moliant ac addoliant cu
Gan bawb trwy'r byd a'r nefoedd fry. Amen.

## 149 M. B. C.

1 GOGONIANT DUW y TAD
Fo'n wastad yn ein genau;
O'i gariad Ef y cawsom oll
Ffynnon ein holl ganiadau.

2 A seiniwn hefyd glod
A'n tafod, i'r MAB IESU,
Yr Hwn o'i fodd ei fywyd roes
Ar bren y groes i'n prynu.

3 Rhown fawl i'r YSPRYD GLÂN,
A chân dragwyddol gyson,
Yr Hwn o'i ras sy'n dwyn i lawr
Ddyddanwch mawr i ddynion.

4 I'r uchel UN a THRI
Sy'n selio i ni faddeuant,
TAD, MAB, ac YSPRYD yn ddilyth,
*Y rhodder byth* agoniant. Amen.

## 150

M. N.

1 SANCTAIDD, Sanctaidd, Sanctaidd! Duw
HOLLGYFOETHOG!
Gyda'r wawr blygeiniol dyrchafwn iti gân,
Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd! mawr wyt
a thrugarog;
Duw mewn TRI PHERSON — TRINDOD
ddiwahân.

2 Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd! dy holl
Saint, a'th folant—
Bwriant eu coronau aur o flaen y fainc
lawr:
Engyl a Seraphiaid glân a'th ogoneddant
Beunydd ac fyth, i dragwyddoleb mawr.

3 Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd! t'wyllwch
a'th orchuddia,
Fel nas gall pechadur gwael byth edrych
ar dy wedd:
Sanctaidd wyt yn unig: Ti, DDUW, wyt
orucha'
Mewn clod, a gallu, cariad pur, a hedd.

4 Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd! DDUW
HOLLGYFOETHOG!
Dy holl waith a'th fawl Di mewn gogo
eddus gân;
Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd! mawr wyt
a thrugarog
*Duw mewn* TRI PHERSON—TRINDOD *ddiwa-*
*hân* Amen.

1 M. N. 6. 8.

I DDUW'r anfarwol DAD
Rhown fawl â llafar lef,
Am oll fwynhawn yn awr,
A'n gobaith am y Nef:
Anfonodd Ef ei FAB ei Hun
I farw dros bechodau dyn.

2 I DDUW'r tragwyddol FAB
Boed moliant byth, heb drai;
Fe'n prynodd ni â'i waed;
Fe'n ceidw ni rhag gwae;
Ar orsedd nef teyrnasa 'nawr,
Gan weled ffrwyth ei lafur mawr.

3 I DDUW yr YSPRYD GLÂN
Rhown oll ogoniant gwiw,
O'i allu mawr a'i ras
Gwna'r enaid marw'n fyw:
Gorphena'r gwaith ddechreuodd CRIST,
Ac estyn hedd i'r enaid trist.

4 Rhoer byth, trwy'r ddae'r a'r nen,
Anfarwol fawl i Ti
DAD, MAB, ac YSPRYD GLÂN,
Dragwyddol UN a THRI—
Sef *Duw ein hiacha*wdwriaeth gref
*A'n dwg o'r byd i d*eyrnas nef. Am

# HYMNAU CYFFREDINOL.

## I.—Yr Ysgrythyr Lan.

### 152

M. S.

1 PA fodd, O Dduw, y ceidw llanc
Sydd ieuanc, ei holl lwybrau?
Wrth ymgadw yn ol Dy air,
Pob llwybr a gair yn olau.

2 I'm calon cuddiais Dy air cu,
Rhag imi bechu'n d'erbyn:
O Dduw! bendigaid ydwyt Ti—
O! dysg i mi d'orchymyn.

3 Dychrynais rhag 'r annuwiol rai,
A dorai'th gyfraith hynod;
Dy ddeddfau Di yw'm caniad per,
Yn nhy fy mhererindod.

4 Gan ddysgwyl am dy iechyd Di
Mae f'enaid i'n diffygio:
Yn gwylied beunydd wrth dy air,
O Arglwydd! cair fi'n effro. Amen.

### 153

M. S.

1 A'TH eiriau y bywheaist fi,
Am hyn y rhei'ny gofiais:
*Eiddot Ti* wyf—Duw! achub fi,
*Dy ddeddfau* Di a geisais.

2 Mor gu, O ARGLWYDD! genyf fi
Dy ddeddf Di a'th gyfammod,
Ac ar y rhai'n, o ddydd i ddydd,
Y bydd fy holl fyfyrdod.

3 Dy air i'm traed i, llusern yw,
A llewyrch gwiw i'm llwybrau;
Mi dyngais, a chyflawnu wnaf,
Y cadwaf dy lân ddeddfau.

4 Cym'rais yn etifeddiaeth lân,
Byth weithian dy orch'mynion;
O herwydd mai hwynt-hwy y sydd
Lawenydd i fy nghalon. Amen.

## 154 M. S.

1 DY nerthol air, ION, oddifry
A bery yn oesoesoedd;
Tydi wyt wedi cadarnhau
Dy eiriau yn y nefoedd.

2 Mor werthfawr yw dy air a'i rîn
Mewn cystudd blin, a chroesau:
Fe droir wylofain trist yn gân
Ar lwybyr glân dy ddeddfau.

3 Gobeithiaf yn y gair o hyd,
Yn nghanol byd o ddychryn;
Mae'n gysgod rhag y gwynt a'r gwres,
Mae'n lloches rhag y gelyn.

4 Er *teimlo'i fin a'i* nerth a'i rym,
*Fel cleddyf llym* yn rhwygo;

[redacted]



Er hyn mae olew, gwin, a hedd,
Oes, ac ymgeledd ynddo.

5 Yn niwedd taith yr anial dir,
A garo'r gwir gaiff goron:
Try llafur ffydd, wrth air y llw,
Yn elw i'r duwiolion. Amen.

## 155 M. N. 8. 7. D.

1 O MOR werthfawr yw'r gair perffaith,
Ddaeth i ni o enau Duw!
Mae'n datguddio iachawdwriaeth
Gyflawn, rad, i ddynolryw!
Ni all miloedd o aur melyn,
Na'r trysorau gorau sydd,
Foddio'r didwyll wir gredadyn
Fel diffuant air y ffydd.

2 Yma caf bleserau sanctaidd,
Llaeth a mêl a gwên fy Nuw;
Sypiau Canaan, gwleddoedd breision,
Manna ddigon tra fwy' byw;
Dengys hwn y ffordd im' dreulio
F'oriau'n hyfryd iawn i ben,
Ffordd i farw dan lawenu,
Ffordd at delyn aur y nen. Amen.

## 156 M. N. 8. 7. D.

1 DYMA Feibl f'anwyl Iesu
Iesu'n rhodd deheulaw Duw,
*Dengys* hwn y ffordd i farw,
*Dengys* hwn y ffordd i fyw;

Dengys hwn y codwm erchyll
Gafwyd draw yn Eden drist;
Dengys hwn y ffordd i fywyd
Trwy adnabod Iesu Grist.

2 Yma rhedo 'myfyrdodau,
Ar drysorau gorau'r gair;
Dawnac iechyd i fy yspryd,
Grym a bywyd imi bair:
Mi anturiaf oll a feddaf
Ar y gair cadarnaf gwiw;
Cwyd fi i fyny, ceidw f'enaid—
Mae fy nodded yn fy Nuw. Amen

## 157 M. N. 8. 7. D.

1 CLOD i Dduw am ei Ysgrythyr,
Addysg gywir gair yn hon;
Nawdd i'r euog, gras i'r aflan,
I'r annyddan heddwch llon;
Rhyddid llawn i'r caeth a'r llwythog,
I'r blinderog esmwythâd,
Ac i holl alarwyr Seion
Y cysuron pura'n rhâd.

Buddiol yw i athrawiaethu,
I geryddu anwir rai;
Mewn cyfiawnder i'n hyfforddi,
Ac i ddangos ini'n bai:
Codir ynddi ffordd y bywyd,
I ochelyd uffern ddu:
Ffordd i'n dwyn, trwy afon angeu,
I drigfanau'r gwynfyd fry.

3 Gras i'w darllain, dyro, ARGLWYDD,
Ac i'w dysgu heb lesghau;
Gras i'w gwrando ac i'w chwilio,
Ac i'm mewn ei gwir fwynhau;
Fel y meddwyf hir amynedd,
A dyddanwch dan y groes,
Ac am fywyd sy'n anfarwol
Obaith bywiol trwy fy oes. Amen.

## 158 M. C.

1 YN llyfr gras dangosir im'
Y ffordd i'r nef i fyw;
A meddyginiaeth gyflawn gaf
I'm clwyfau o bob rhyw.

2 Hwn ydyw maes y perlau teg,
Trysorau Dwyfol rîn;
Ysprydol ddoeth yw'r sawl a'i gwna
Yn eiddo iddo'i hun.

3 Gwir Bren y Bywyd yma dyf,
Heb Gerub tanllyd mwy,
I'm cadw rhag ei nefol ffrwyth
Er gwelliant llawn i'm clwy'.

4 Trwy'r gair 'rwy'n gwel'd y dyfroedd b
O dan orseddfainc ION;
A lle im' yfed a glanhau
Nes boddi'm braw a'm poen.

5 Y Beibl ddengys wagter mawr
Pob gwrthddrych îs y ne'—
*Llais hyfryd fy Anwylyd yw,*
*Yn galw'r plant i dre.* Amen.

## 159

M. C.

1 GOLEUNI ac anfeidrol rym
Yw hyfryd eiriau'r nen;
Pob sill erioed a dd'wedodd Ef,
Sydd sicr o dd'od i ben.

2 Mae'i eiriau fel y diliau mêl,
A'i holl orch'mynion sy
I gyd yn dangos rhinwedd maith
Sancteiddrwydd nefoedd fry.

3 Mae'i addewidion fel yr haul
Yn sicr o gadw'u lle;
Ac nid ä'r sillaf leia, ar goll
O'i hyfryd eiriau E'. Amen.

## 160

M. N. 9. 8.

1 O AGOR fy llygaid i weled
Dirgelwch dy arfaeth a'th air;
Mae'n well imi gyfraith dy enau,
Na miloedd o arian ac aur:
A'r ddaear ar dân, a'i thrysorau,
Ond geiriau fy Nuw saif yr un:
Y bywyd tragwyddol yw 'nabod
Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

2 O Dduw 'rhwn a roist yr Ysgrythyr
Yn addysg a chysur i ni,
Rho d'Ysbryd i agor ein golwg
I'w deall, atolwg i Ti:
*Gwna'm calon,* mewn cariad a gobaith,
*Yn ufudd i'th* gyfraith, fy Nuw;

Ac yna, pan ddarffo fy mywyd,
I wynfyd dwg f'yspryd i fyw.

3 I'r Drindod fendigaid ein moliant
A rown, a gogoniant ar gân;
I'r Tad ac i'r Mab tragywyddol,
I'r Yspryd Sancteiddiol a Glân;
Fel gynt cyn rhoi sylfaen y bydoedd,
O'r dechreu yr oedd ac mae'n awr,
Y bydd eu pêr fawl yn oesoesoedd
Yn seinio trwy nefoedd a llawr. Am

## 161 M. N. 7. 6.

1 O ARGLWYDD, dysg im' chwilio
I wirioneddau'r gair,
Nes d'od o hyd i'r Ceidwad
Fu gynt ar liniau Mair:
Mae Ef yn Dduw galluog,
Yn gadarn i iachau;
Er cymmaint yw fy llygredd
Mae ffynnon i'm glanhau.

2 O Arglwydd da, argraffa
Dy wirioneddau gwiw
Yn ddwfwn ar fy meddwl
I aros tra f'wyf byw:
Mwy parchus boed dy ddeddfau
Mwy anwyl nag erioed,
Yn gysur i fy nghalon,
Yn llusern i fy nhroed.

3 *Myfyrdod* am Gyfryngwr,
*A phethau* Dwyfol, drud,

Fo'n llanw 'nghalon wamal
  Yn felys iawn o hyd:
A bydded prawf maddeuant,
  Yr heddwch sydd trwy'r Iawn,
Gartrefol yn fy mynwes
  O fore hyd brydnawn. Amen

## 162 M. H.

AM air ein Duw boed moliant llon,
  Yn seinio dros y ddaear gron;
Mae'n llusern bur i'n traed heb goll,
A llewyrch gwiw i'n llwybrau oll.

Fe rydd i'n henaid esmwythâd,
Fe'n tywys tua'r nefol wlad,
Gan ddangos cariad Iesu cu,
Nes enyn cariad ynom ni.

Ein cleddyf yw i drechu'r ddraig,
A'n drych i weled Had y Wraig;
Trysordŷ mawr yn llawn o ras,
A gwindŷ'r nef mewn anial cras.

I'r cryf mae'n ymborth llawn o faeth,
I'r gweinion rai yn ddidwyll laeth;
Rhydd addysg a chysuron maith,
A nerth i gyrhaedd pen y daith. Amen.

## 163 M. H.

YN *mhob rhyw drallod* blin y b'wyf
  *Ehedeg at fy* Nuw yr wyf;

Dim gobaith mewn un lle ni chair,
Ond yn ei 'sgrifenedig air.

2 Yn llyfr gras fy nefol Dad
'Rwy'n cael i'm blinder esmwythâd;
Gwel'd 'rwy 'mhob dalen ynddo 'mron,
Wyneb a llais fy Mhrynwr llon.

3 Hwn yw y gair o gariad mawr,
O'r nef anfonwyd ini lawr;
IEHOFAH ddengys yma i maes
Beth all ei hollalluog ras.

4 Hwn yw datguddiad Duw ei Hun,
Uwch rheswm dall, a synwyr dyn;
F'arweinydd i'r wlad nefol fry,
Trwy'r byd a'r glyn wylofus du.

5 O boed i'th air, alluog DDUW,
Gyfeirio 'nhraed tra byddwyf byw,
Rhag troi o'r brif-ffordd ddedwydd fwyn,
Ar dy ddeheulaw sydd i'm dwyn. Amen.

## 164 M. H.

1 O CHWILIWN yr Ysgrythyr Lân
Am destyn wna dragwyddol gân;
Mae ynddi drysor canmil gwell
Na holl fwn-gloddiau'r gwledydd pell.

2 Mae'n sôn am drysor marwol glwy,—
*Ni fedd y nefoedd drysor mwy*—
*Caniadau'r* saint fydd byth yn un
*Am gyfoeth* iachawdwriaeth dyn,

:ae'n sôn am ffynnon i lanhau,
'r gwir oludoedd sy'n parhau,
yfiawnder, a maddeuant llawn
r euog, trwy anfeidrol Iawn.

chwiliwn gyrau'r maes i gyd,
·an gloddio am y trysor drud;
[ae'n gyfoeth heb ei fath yn awr,
.'i werth â'n fwy trwy'r eilfyd mawr. Amen.

---

# .—Duw a'i Briodoliaethau.

;5 M. C.
*Cariad Duw.*

YYDUNED y nefolaidd gôr,
A llwythau dynolryw,
ganu'n llon â llafar lef,
Mai Cariad ydyw Duw.

:glura gwirioneddau'i air
Ei drugareddau gwiw,
.c angeu CRIST dros euog ddyn,
Mai Cariad ydyw Duw.

)wyn rhyfedd waith ei ras yn mlaen
Mewn calon ddrwg ei lliw,
. ddengys trwy'r eglwysi oll
Mai Cariad ydyw Duw.

*Iwel'd gwael bechadur* yn y nef—
*O'r fath ryfeddod yw!*

A ddengys trwy'r trigfanau fry,
Mai Cariad ydyw Duw.

5 Fy enaid clwyfus na lesghâ,
Mae modd i wella'th friw;
Mae achos da i dd'weyd bob dydd
Mai Cariad ydyw Duw. Amen.

# 166

M. C.

*Mawredd Cariad Duw.*

1 UWCH bob rhyw gariad îs y nef
Yw cariad pur fy Nuw;
Anfeidrol foroedd, dyfnion, maith,
Heb fesur arno, yw.

2 O deuwch, gwelwch, chwiliwch ef,
Anfeidrol gariad mawr,
Ag sydd yn maddeu miloedd myrdd
O feiau, yn yr awr!

3 Rhyw gariad, a ffyddlondeb maith,
A thrugareddau'n un,
Ydyw yr enwau garodd Ef
I roddi arno'i Hun. Amen.

# 167

M. C.

*Daioni Duw.*

1 TYDI wyt deilwng o fy nghân,
Fy Nghrewr a fy Nuw;
Dy ddoniau o fy amgylch maent
Bob mynyd 'rwyf yn byw.

2 O! na foed tafod dan y rhôd
Yn ddystaw am dy waith;

Minau fynegaf hyd fy medd
  Dy holl ddaioni maith.

Diolchaf am dy gariad cu,
  Yn estyn hyd fy oes;
Diolchaf fwy am Un a fu
  Yn gwaedu ar y groes.

Diolchaf am gysuron gwiw
  Wyf beunydd yn fwynhau;
Diolchaf fwy am Brynwr trist
  I mi gael llawenhau. Amen.

168 M. C.

*Gallu Duw.*

O RYFEDD nerth y cadarn IOR!
  Plŷg anian ger ei fron;
Ei air yw deddf yr eang fôr,
  A'i amnaid ddofa'r dòn.

Wrth swn ei draed mynyddoedd ffy,
  Y bryniau gryma'u pen;
Gan ryfedd rym ei gorwynt cry'
  Y sigla seiliau'r nen.

Ymbwysa, f'enaid, ar ei nerth,
  Yn mhob rhyw 'storom ddaw:
Fe'th arwain dros y rhiwiau serth
  I Salem yn ei law. Amen.

169 M. N. 6. 8.

*Tragywyddoldeb Duw.*

CYN *lledu lleni'r nef,*
  *Na ffurfio llwythau'r* llawr,

Cyn gosod ser i droi
Yn yr ehangder mawr,
Na llunio un creadur byw—
O dragwyddoldeb y mae Duw.

2 Cyn canu'n beraidd fwyn
O'r ser boreol draw,
Na chael o Gabriel bêr
Y delyn yn ei law,
Dedwyddwch perffaith, hedd didrai,
Oedd Ffynnon cariad yn fwynhau.

3 Mor fyr yw oesoedd maith
Ger bron tragwyddol Fod!
Ei oes heb fesur sydd:
Diderfyn yw ei glod:
Mil o flynyddoedd maith, neu ddydd,
Yn debyg yn ei olwg sydd.

4 Pan gryno seiliau'r byd,
Pan syrthio'r ser yn llu,
Y lleuad wen yn waed,
A'r haul fel sachlen ddu,
Yr un fydd Ceidwad dynolryw,
Diddechre a diddiwedd yw. Amen.

## 170

M. N. 6. 8.

*Ffyddlondeb Duw.*

1 WRTH edrych ar y sail,
A'r wir addewid gref,
*Er ofnau* rif y dail,
*Pa'm* yr amheuwn Ef?

yma air—Pwy ŵyr ei werth?—
n ol dy ddydd y bydd dy nerth."

aham y beiaf ddim
 Ar gyfoeth gras fy Nuw,
le rhoddwyd sicrwydd im'
 Mai digyfnewid yw?
na yr hen addewid gu
gallwn ni gael cysur cry'.

id oedd yn ngallu'r nef
 Ddim modd rhoi sicrwydd mwy
a'r wir addewid gref
 A seliodd gwaed ei glwy':
air a saif yr un o hyd,
 doddo barn elfenau'r byd.

 pererinion gynt,
 A'r hen ferthyron glân,
'n awr diangol ŷnt
 Er ymgyrch dwr a thân:
'r llaw a'u daliodd hwy i'r lan
thau'n gymhorth, f'enaid gwan. Amen.

M. C.

*Doethineb Duw.*

NEIRIF ddeall Brenhin nef
 A welir yn ei waith;
holl greadigaeth datgan mae
Ei ddoethder yn mhob iaith.

 gellir chwilio allan byth
*Ei synwyr dirfawr Ef;*

Mae'n maeddu dawn trigolion byd,
  A holl angylion nef.

3 Yn yr Efengyl beraidd fwyn
  Dysgleiria'n hyfryd lawn
Ddoethineb anfesurol Ior,
  Yn nhrefniad Dwyfol Iawn.

4 Mewn tir a môr fe welir peth
  O'r Duwdod mawr ei ddawn:
Ond yn y Cymmod gwelir byth
  Ei *holl* ogoniant llawn.

5 O annherfynol fôr didrai
  O ddyfais ac o ras,
Na ddichon tragwyddoldeb maith
  Eu chwilio byth i maes. Amen.

## 172

M.C.

*Hollbresenoldeb Duw.*

1 LLON'D nefoedd fawr, a llon'd y byd,
  Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun:
  Diderfyn ydyw Duw.

Mae'n llon'd y gwagle yn ddigoll,
  Ei air a'i allu'n un;
Anfeidrol, annherfynol Fod,
  A'i hanfod ynddo i hun.

3 Un hunanfodol ydoedd Ef
  Cyn llunio nef na llawr;
*Yn nhrag*wyddoldeb pell yn ol,
  *Yn Dd*uw anfeidrol fawr.

Heb ddechreu dyddiau iddo'n bod,
Na diwedd einioes chwaith;
Yn DRINDOD pur mewn UNDOD bydd
I dragwyddoldeb maith. Amen.

173 M. B.

*Annghyfnewidioldeb Duw.*

'RWYF yn terfynu 'nghred,
'Nol pwyso oll yn nghyd,
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
Ond Duw sy'r un o hyd.

Ar ei ffyddlondeb Ef
Sy'n noddfa gref i'r gwan,
Mi gredaf do'i 'mhen gronyn bach,
O'r tónau'n iach i'r lan.

Fy ngwendid o bob math,
A'm llygredigaeth cry',
Ni allant ddiffodd, er mor gâs,
Hyd fyth, mo'r gras sy fry.

Cyflawnir gair fy Nuw
A doed hi fel y dêl;
Can's holl amcanion nefoedd fry
Bob sillaf, sy tan sêl.

Ar ei air Ef a'i nerth,
A Dwyfol werth y gwaed,
Mi af trwy bob *gelynion hŷ*
*I mewn i dŷ fy Nhâd.* Amen.

# 174

M. B.

*Maddeugarwch Duw.*

1 AR grasdir crindir cras
Disgynodd gras ein Duw,
Yn loew ffrwd yr afon ddaeth,
Mewn anial gwaetha'i ryw.

2 Maddeuant rhyfedd rhad,
I'r gwaethaf gaed îs nen,
Yr hwn a gredo yn yr Iawn,
Fu un prydnawn ar bren.

3 O boed maddeuant rhad
Yn hyfryd waed yr Oen,
Yn destyn moliant yn mhob man
I mi sydd dan fy mhoen.

4 Yr anthem faith ei hyd
F'o i gyd am Galfari,
A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn
Ddaeth un prydnawn i ni. Amen.

---

# III.

## Creadigaeth a Rhaglunia

# 175

M. H.

1 CLODFORWCH Frenhin nefoedd fry
Fe'n ARGLWYDD yr arglwyddi sy,
*Creawdwr* bywyd pawb a'u bod,
*'Fe sydd,* 'Fe fydd, 'Fe oedd erioed.

2 Creawdwr y ffurfafen fawr
Sy'n hongian uwch y ddaear lawr,
Yr haul, y lloer, y ser, y sy
Yn gwibio yn entrych nefoedd fry.

3 Gwnaeth trwy ei air y ddaear gron,
A'r llydan fôr sy'n rhuo'i dòn,
Dyffrynoedd a mynyddoedd maith,
Plant Adda o bob llwyth ac iaith.

4 Fe sy'n Berchenog ar y stôr,
Mewn awyr, daear, tân, a môr;
'R holl greaduriaid mana'u hîl
Sy'n eiddo Ef ar fryniau fil.

5 Mae'r moroedd a'r mynyddoedd maith
Yn seinio maes mewn eglur iaith;
A'r holl greaduriaid o bob rhyw
Sy'n d'weyd mai rhyfedd iawn yw Duw.
Amen

## 176 M. N. 9. 7.

1 YMSYMUD mewn llwybrau dirgelaidd,
I wneuthur ei wyrthiau mae Duw:
Ei draed yn yr eigion a esyd,
A'r gyrwynt ei gerbyd Ef yw;
Yn mhell mewn dyfnderoedd annhraethol
O ryfedd fedrusrwydd di-flin,
Trysora'i amcanion ardderchog,
A gwna ei ewyllys ei Hun.

2 Chwi seintiau, cymerwch galondid,
Cymylau a ofnwch yn awr

Ynt lawn trugareddau, a thorant
Yn helaeth fendithion i lawr:
Na fernwch yr Ion wrth eich synwyr,
Hyderwch o hyd am ei hedd,
Tu cefn i bob gwgus ragluniaeth
Mae gwenau i'w gwel'd ar ei wedd.

3 Yn fuan addfeda'i ddybenion,
Gan agor yn gyson bob dydd,
Yn chwerw gall fod y blaguryn,
Ond peraidd y blodyn a fydd:
Un gibddall yw ffol annghredin iaeth,
Ei waith nis amgyffred yn wir;
Deonglydd ein Duw yw ei Hunan—
Gwna'n eglur bob gweithred cyn hir.

## 177 M. N. 8. 7. 4.

1 BOED fy mywyd oll yn ddiolch,
Dim ond diolch yw fy lle;
Ni wna gwaredigaeth ragor
I greadur is y ne':
Gallu'r nefoedd
Oedd a'm daliodd i i'r lan.

2 Ar y dibyn bûm yn chwareu,
Lawr ped aethai'm henaid gwan,
Nid oedd bosibl imi godi
Fyth o'r dyfnder hwnw i'r lan:
*Iesu, Iesu,*
*Ti sy'n trefnu oll dy Hun.*

Rhaid oedd bod rhagluniaeth ddystaw,
  Rhaid oedd bod rhyw arfaeth gref,
Yn fy rhwymo heb im' wybod
  Wrth golofnau pur y nef:
    O ragluniaeth!
  Ti sy'n trefnu'r ddaear faith. Amen.

## 78 M. N. 8. 7. 4.

RHYFEDD, Arglwydd, yw'th ddoethineb,
  Rhyfedd, Arglwydd, yw dy rym;
Nid oes îs y nef luosog
  All dy wrthwynebu ddim:
    Try'r greadigaeth
  Ol a gwrthol wrth dy air.

D'air sy'n gwneyd y byw yn farw,
  Eilwaith gwneyd y marw'n fyw;
D'air a greodd ac sy'n cynal
  Lluoedd natur o bob rhyw;
    Ti dy Hunan
  Ydyw bywyd maith y byd.

Mae gelynion imi'n chwerw—
  Cedyrn ŷnt, a mawr eu grym;
Ond y rhai wy'n ofni fwyaf
  I Ti, Ior, nid ydynt ddim:
    Gair o'th enau
  Gwympa fyrdd mewn mynyd awr. Amen.

## 79 M. C.

*DATGANAF allu mawr fy Iôn*
  *A wnaeth fynyddau'r byd;*

Yr hwn fu'n taenu'r llydan fôr,
A'r awyr faith yn nghyd.

2 Datganaf y doethineb llawn
A drefnodd haul y dydd;
Y lloer a'r ser yn barod iawn
I wneyd ei air y sydd.

3 Datganaf fawr ddaioni Duw,
Sydd yn diwallu'r byd;
A'i air fe greodd bob peth byw,
A da ei waith i gyd.

4 Ei law i'm gwylio'n wastad sydd,
Fy Ngheidwad unig yw:
Paham, gan hyny, 'n annghof bydd
Yr hwn sy'n rhoi imi fyw? Amen.

## 180 M. C.

1 MOR ddirgel ydyw ffyrdd ein Iôr
Yn dwyn yn mlaen ei waith!
Mae'n marchog weithiau yn y môr
Gan ffrwyno'i 'stormydd maith.

2 Mae t'wyllwch a chymylau'n toi
Dybenion doeth ein Rhi;
A dirgel rod mewn rhod yn troi
Uwchlaw ein deall ni.

3 Ond er myn'd heibio yn y tân,
Y gwynt a'r ddaeargryn,
Fe glyw ei blant ei ddystaw lef
Yn traethu hedd er hyn.

'r tew gymylau duon sydd
Yn awr yn toi y nen,
n lle ystorm, dyhidlo wnant
Wlith bendith ar eu pen.

m hyn nac ofnant unrhyw bryd,
Er maint eu blinfyd mwy;
'rwy'r rhagluniaethau chwerwaf oll
Mae'n gwenu arnynt hwy. Amen.

1 M. C.

R fôr tymhestlog teithio'r wyf
I fyd sydd well i fyw,
an wenu ar ei 'stormydd oll—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

'rwy leoedd geirwon enbyd iawn,
A rhwystrau o bob rhyw,
'm dygwyd eisioes ar fy nhaith—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

r cael fy nhaflu o dòn i dòn,
Nes ofni bron cael byw,
)iangol ydwyf hyd yn hyn—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

c os oes 'stormydd mwy yn ol
Yn nghadw gan fy Nuw,
Vynebaf arnynt oll yn hyf—
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

phan fo'u hymchwydd yn cryfhau,
*Fy angor sicr yw,*

Y dof yn ddyogel trwyddynt oll—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw.

6 I mewn i'r porthladd tawel, clyd,
  O swn y 'storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon ryw ddydd—
  Fy Nhad sydd wrth y llyw. Amen.

## 182

M. N. 7. 6.

1 O ARGLWYDD DDUW rhagluniaeth
  Ac iachawdwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu
  Y byd a'r nef dy hun;
Yn wyneb pob caledi
  Y sydd neu eto ddaw,
Dod gadarn gymhorth imi
  I lechu yn dy law.

2 Er cryfed ydyw'r gwyntoedd,
  A chedyrn dònau'r môr,
Doethineb ydyw'r Llywydd,
  A'i Enw'n gadarn IOR:
Er gwaethaf dylif pechod,
  A llygredd o bob rhyw,
Diangol yn y diwedd
  Am fod yr Arch yn DDUW. Amen.

## 183

M. N. 7. 6.

1 *FFORDD* DUW sydd yn y dyfroedd,
  *A'i lwybrau* oll yn gudd;

Er hyny dônt yn amlwg
  Pan ddelo'r hynod ddydd:
Holl droion maith rhagluniaeth—
  Bydd pelyderau Duw
Yn dangos eu cymhwysder
  I bob creadur byw.

Gan hyny, ymdawelwn
  Mewn gostyngeiddrwydd gwiw,
A gwir fwyneidd-dra duwiol
  Mewn 'stormydd o bob rhyw:
Pob awel lèm anhyfryd
  Sy'n ol yr arfaeth gynt,
Ac arni yn marchogaeth
  Mae Arglwydd mawr y gwynt. Amen.

## 84 M. N. 7. 6.

MEWN hedd, fy enaid, gorphwys,
  Yn dawel nos a dydd;
Y Duw a'th bortha'n wastad
  Yn agos atat sydd;
Hyd yma 'rhwn a'm daliodd
  Byth ni ddiffygia Ef;
Bydd foddlawn i lywodraeth
  Rhagluniaeth ddoeth y nef.

Efe a wnaeth y bydoedd,
  Ac Awdwr bywyd yw;
Yr Hwn sydd werthfawrocach
  Na'r byd a'i berlau gwiw:
A *gwallt ein pen* bob blewyn,
  *Rhag syrthio'r* un ar goll,

Gan Dduw yn ddirgeledig
Ynt gyfrifedig oll.

3 Gan hyny pa'm gofalwn,
Am bethau gwael y byd,
Nad ydynt ond oferedd
A gwagedd oll i gyd?
Fe ŵyr ein Harglwydd tirion
Am ein hangenion maith,
Rhydd ini'r hyn fo'n eisiau,
Tra pery dyddiau'n taith. Amen.

# IV.—Mawl a Diolchgarwc

## 185 M. H.

I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawenfryd;
Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Drigolion y ddaear i gyd.

2 Gwybyddwch mai'r Arglwydd sy Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod:
Nid ni'n hunain—ei bobl ŷm ni,
A defaid rhi ei borfa a'i nôd.

3 O ewch i'w byrth â diolch brau,
Yn ei gynteddau molwch Ef;
*Bendithiwch* Enw Duw hynod,
*Rhowch* iddo glod trwy lafar lef.

Can's da yw'r Arglwydd, Awdwr hedd,
Da ei drugaredd a dilyth:
A'i wirionedd i ni a roes,
O oes i oes a bery byth. Amen.

## 86 M. H.

O FLAEN gorseddfainc uchel Ion,
Dowch bobloedd oll gan lawenhau;
Mawr yw ei Enw uwch pob sôn—
Efe sy'n lladd ac yn bywhau.

Ei allu mawr a'n creodd oll;
Ein ffurf o glai a wnaeth i gyd;
Fel defaid aethom bawb ar goll,
Ond dŷg ni'n ol i'w gorlan glyd.

Ei bobl Ef ydym, praidd ei nod—
Ein Bugail a'n Harweinydd yw;
Pa fawredd teilwng a pha glod
A ro'wn i'th Enw, O ein Duw!

Seiniwn dy fawl â bywiog iaith,
Dyrchafwn lais hyd entrych nef;
Daw'r byd a'i fil o filoedd maith
I'w byrth âg un soniarus lef.

Hwy pery d'air na môr na thir,
Didranc yw'th gariad mawr a'th ras;
Yn *gryf fel craig* y saif dy wir
*Pan gryno'r* nef a'r ddaear las. Amen.

## 187

M. H.

1 O RHODDWN fawl i'r ARGLWYDD DDUW,
Ffynnon tragwyddol gariad yw:
Ei drugareddau mawrion Ef
A bery byth fel dyddiau'r nef.

2 O mor rhyfeddol yw ei waith,
Dros holl derfynau'r ddaear faith;
Pwy, pwy all draethu'n llawn ei glod,
Anfeidrol, annherfynol FOD!

3 A doniau dwyfol, ddynion dowch,
Caniadau moliant iddo rhowch:
Dadseiniwch glod am farwol glwy'
Nes codi haul heb fachlud mwy.

4 I Ffynnon pob daionus rodd
Rhowch fawl, drigolion byd ar g'oedd:
Llu'r nef, rhowch glod mewn peraidd gân,
I'r TAD, a'r MAB, a'r YSPRYD GLÂN. Amen.

## 188

M. S.

1 RHOWCH i'r ARGLWYDD, a rhowch yn chwyrn,
Chwi blant y cedyrn, foliant:
A chydnabyddwch ei fawr nerth,
Mor brydferth, a'i ogoniant.

2 Rhoddwch i Enw'r ARGLWYDD glod,
Heb orfod mwy mo'ch cymhell;
*Addolwch* ARGLWYDD yr holl fyd—
*Mor hyfryd* yw ei babell.

3 Yr Arglwydd rydd i'w bobl nerth,
Drwy brydferth gyfanneddwch;
Yr Arglwydd rydd i'w bobl wlith
Ei fendith, a hir heddwch. Amen.

## 189 M. S.

1 DIOLCHAF fi â chalon rwydd
I'r Arglwydd, bob amserau;
Ei foliant Ef, a'i wir fawrhâd
Fo'n wastad yn fy ngenau.

2 Wele y truan a roes lef,
A Duw o'r nef yn gwrando;
Ac a'i gwaredodd o'i holl ddrwg,
A'i waedd oedd amlwg iddo.

3 Angel ein Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant;
Ceidw Ef hwynt, a llawer gwell
Na chastell yw eu gwarant.

4 O profwch, gwelwch ddäed yw
Yr Arglwydd byw i'r eiddo;
A gwyn ei fyd pob dyn a gred,
Roi ei ymddiried ynddo. Amen.

## 190 M. S.

1 PA rai bynag yn Nuw yr Ion
Sy gyfion, llawenychwch;
I *bawb y sydd yn* iawn yn byw,
*Gweddus yw diolchgarwch.*

2 A thannau telyn molwch Ef,
Rhowch hyd y nef ogoniant;
Ac ar y nabyl gywair ei thôn,
Ac ar y gyson ddegtant.

3 Cenwch i'r Ion fawl a mawrhâd,
Wiw gerdd o ganiad newydd;
Cenwch iddo yn llafar glod,
Bid parod eich lleferydd. Amen.

## 191 M. S.

1 FY enaid mawl Sanct Duw yr Ion,
A chwbl o'm heigion ynof:
Fy enaid, n'ad fawl f'Arglwydd nef,
Na'i ddoniau Ef yn annghof.

2 Yr Hwn sy'n maddeu dy holl ddrwg,
Yr Hwn a'th ddwg o'th lesgedd;
Yr Hwn a weryd d'oes yn llon
Drwy goron o'i drugaredd.

3 Bendithiwch chwi yr Arglwydd Ion,
Angylion, a'i holl gedyrn;
Ei lân orch'mynion Ef a wnewch,
A'i lais gwrandewch yn drachwyrn.

4 Bendithiwch chwi yr Arglwydd nef,
Ei holl waith Ef sy hylwydd;
*Yn mhob man* oll o'i drefn a'i hawl,
*O f'enaid* mawl yr Arglwydd. Amen.

## 92 M. N. 8. 8. 8.

DATGENWCH glod yr ARGLWYDD nef,
Ei hen drugaredd rasol Ef
O oes i oes sydd yn parhau:
O! chwi holl waredigion IOR,
O! cenwch hyn ar dir a môr,
Mae'n para byth i drugarhau.

Rhai a waredodd Ef trwy ras,
Y rhai a gasglodd, er eu cas,
O'r tiroedd gwasgaredig pell;
O'r dwyrain, o'r gorllewin dir,
O'r gogledd ac o'r dehau'n wir,
I mofyn am orphwysfa well.

Tywysodd hwynt hyd ffordd oedd iawn,
O'i ras a'i ddoeth ryfeddol ddawn,
I ddinas gyfanneddol glyd:
O! na foliannent hwy, bob awr,
Yr ARGLWYDD, a'i ddaioni mawr,
Gan gofio ing Iachawdwr byd. Amen.

## 93 M. N. 8. 8. 8.

BYDD mawl yn Seion i barhau,
I Enw'r Hwn sy'n trugarhau—
Mae'n deilwng iddo gael y clod;
Ei ryfeddodau'n Seion sydd,
Pwy'u gwel? Pwy'u prawf ond perchen ffydd?
*Ei fawl a bery'n* hwy na'r rhod.

2 Bydd mawl yn Seion am ryddhâd,
A mawl yn un am gyfiawnhâd,
A mawl am godi'r meirw'n fyw:
Bydd mawl am wisgo'r noeth, yn nghyd
A mawl am olchi'r brwnt 'r un pryd—
Mawl byth i'r Oen can's teilwng yw.

3 O! moler Ef am dd'od i'r cnawd,
A moler Ef am dd'od yn dlawd—
Fe lyncodd angeu ar y groes:
O! moler Ef am rwygo'r llen,
O! moler byth, Efe sydd Ben,
A chofier am ei Ddwyfol loes. Amen.

## 194 M. N. 10. 11.

1 LLU dysglaer y nef, yn dyrfa gytun,
Wrth orsedd yr Oen a blygant bob un,
Gan fwrw eu coronau i lawr wrth ei draed,
Am olchi pechadur a'i gànu'n y gwaed.

2 Er lleisio eu cân drwy lysoedd yr IOR
Am oesau o rif mân dywod y môr,
Nid yw hi ond dechreu; mor beraidd ei blas
Yn ngenau angylion, yw anthem rhad ras.

3 Ai dystaw fydd dyn am rinwedd y gwaed?
Ai dystaw fydd dyn a brynwyd yn rhad?
O Seion, boed moledd dy enaid yn gân,
Dy galon yn gariad, dy dafod yn dân.

4 Chwi weision yr IoN, byth bythoedd na
*thewch,*
*Ei Enw* ar led yn uchel mawrhewch;

›eddwch drwy'r gwledydd o'r ddaear i'r
›n,
Gwr dirmygedig Calfaria sydd Ben.
Amen.

M. N. 7. 6. 7.

IOLWCH DDUW, sy Frenhin fry,
A'i lysoedd ar y llawr;
olwch DDUW y cariad cu,
Gan ei gyhoeddi'n fawr:
m ei holl weithredoedd mâd,
A'i gadernid, molwch Ef;
m ei ddoniau rhyfedd rad
Molianned dae'r a nef

! canmolwch dros y byd
Emmanuel a'i ddawn;
chyhoeddwch Ef o hyd
Yn DDUW y lluoedd llawn:
olwch Ef â thannau per
A nefolaidd gelfydd gân;
wnawn beroriaeth i DDUW NER,
Peroriaeth calon lân.

enwch, ynddo'r ŷm yn byw,
Yn symud, ac yn bod;
renhin a Gwaredwr yw,
Rhowch iddo barch a chlod:
oed ei Enw'n sanctaidd byth,
Ar y ddaear, yn y nef;
oler IESU tra bo chwyth,
*Molianned pob* peth Ef. Amen.

## 196 M. S.

1 O! CENWCH fawl i Dduw ein nerth,
Cerdd brydferth cenwch iddo,
A llafar lais a genau ffraeth,
Gerddoriaeth i Dduw Iago.

2 Tydi, O Dduw, a folwn ni—
Bendithiwn di'n dragywydd;
Addolwn, gogoneddwn byth
Dy Enw dilyth dedwydd.

3 I Dduw gogoniant fyth a fo
Fry yn y goruchafion;
I'r ddaear rhydd dangnefedd rhad,
Ewyllys mâd i ddynion. Amen.

## 197 M. S.

1 MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw
Canu i Dduw yn llafar;
O herwydd hyfryd yw ei glod,
A da bod yn ddiolchgar.

2 Caersalem, dinas gyflawn fydd—
Yr Arglwydd sydd i'w darpar;
Gan gasglu Isräel yn nghyd,
A fu trwy'r byd ar wasgar.

3 Mawr yw ein Harglwydd ni o nerth,
A phrydferth o rasoldeb;
*Ac mae'n* bell iawn uwch ben pob rhif
*Son am* ei brif ddoethineb.

Cenwch i'r Arglwydd mal y gwedd,
  Clodforedd iddo berthyn:
O cenwch, cenwch gerdd i Dduw,
  Da ydyw, gyda'r delyn. Amen.

## 98 M. N. 8. 8. 8,

Fy Nghrewr mawr, moliannaf Ef,
  A phan yn angeu collwy'm llef,
  Caf allu gwell at hyn o waith:
Ni dderfydd byth im' ganu'i glod
Tra fyddo bywyd im' na bôd,
  Neu'n para dragwyddoldeb maith.

Gwyn fyd y dyn mae'i hyder ef
Ar Dduw yr Israel, wnaeth y nef,
  Y ddae'r, y moroedd, a'u holl lu:
Gwareda'r gorthrymedig rai,
Rhydd i'r tylodion wledd ddidrai,
  Cyflawna 'i addewidion cu.

I'r dall rhydd olwg yn ddiau,
A nerthu'r meddwl gwan y mae;
  Y flin gydwybod esmwythâ:
Rhydd nawdd i'r estron ddyn wrth raid,
I'r weddw a'r amddifad blaid,
  A'r caeth o'i garchar a rhyddhâ.

Tra caf anadlu, molaf Ef,
A *phan yn angeu collwy'm* llef,
  *Caf allu gwell at* hyn o waith;

Ni dderfydd byth im' ganu'i glod,
Tra fyddo bywyd im' na bôd,
Neu'n para dragwyddoldeb maith.

## 199

M. N. 8. 8. 8.

CHWI weision Duw, molwch yr Ion,
Molwch ei Enw â llafar dôn:
Bendigaid fyddo'i Enw Ef:
O godiad haul hyd fachlud dydd,
Mawr Enw'r Ion, moliannus fydd,
Yn y byd hwn, ac yn y nef.

2 Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant aeth uwch nef i gyd:
Pwy sydd gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng Ef,
Gwel Ef ein cam, clyw Ef ein cri.

## 200

M. B.

1 O CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus ydyw'r gwaith,
Am ei drugaredd ryfedd rad,
Pob cenedl, gwlad, ac iaith.

2 I Dduw rhowch foliant clau
Yn uchelderau'r nef:
Cerubiaid a Seraphiaid llon,
Angylion molwch Ef.

3 *Drigolion daear* dowch,
*Cynghanedd* rhowch yn nghyd,

I foli'r dyrchafedig Dduw,
Tra fyddoch byw'n y byd.

4 Dadseiniwch newydd gân
Gyn'lleidfa lân y saint,
Ac yn eich Brenhin llawenhewch,
Mewn bri mawrhewch eich braint.
Amen.

## 201 M. B.

1 DUW Abra'm, molwch Ef,
Yr hwn sydd Frenhin fry;
Yr Hen Ddihenydd ddaeth o'r nef
I'r byd i'n prynu ni.

2 Iehofah mawr yw Ef
Trwy nef a daear lawr:
Bendithio wnaf, â llafar lef,
Ei werthfawr Enw mawr.

3 Duw Abra'm, molwch Ef
Am ei anfeidrol ras,
Yr hwn a'm dwg yn ddedwydd trwy
Bob croes a chlwy' i maes.

4 Mi wela'r hyfryd wlad
'Rwyf am fyn'd iddi i fyw;
Trigfanau dedwydd tŷ fy Nhad—
Yr etifeddiaeth wiw.

5 Mae'r holl nefolaidd lu
Yn moli'r Tri yn Un;
O *rhoddwn ninau'*i glod ar led
*Am ffordd* i wared dyn. Amen.

# V.—Crist:

## EI SWYDDAU, EI DEITLAU, EI HAV GARWCH, CLODFOREDD IDDO

---

## 202

M. C.

1 MAE IESU GRIST yn Brophwyd mawr
Y mwyaf un i gyd:
Er maint ein t'wyllwch, wele wawr!
CRIST yw goleuni'r byd.

2 O Brophwyd mawr! i'w Enw boed
Anrhydedd a mawrhâd;
Daeth â'r newyddion goreu 'rioed
Am iachawdwriaeth rad.

3 Mae yn amlygu pethau'r ne'
Yn eu prydferthwch coeth;
Pwy sydd yn dysgu fel Efe?
Mae'n gwneyd y ffol yn ddoeth!

4 Dwg fi, y ffolaf un a gaed,
O'r dwfn dywyllwch du;
Gad imi eistedd wrth dy draed
I wrando d'eiriau cu. Amen.

## 203

M. C.

1 EIN Harchoffeiriad mawr yw'r Oen
*Ddyoddefodd* am ein bai:
*Anfeidrol* IESU, Duw a dyn—
*Ni thal'sai* neb oedd lai.

2 Am hyn nesawn, er pob rhyw bla,
Nesawn tan boen a briw;
Mae yn ei Iawn anfeidrol rodd—
Oes, fodd i'r euog fyw.

3 Awn at yr orsedd fawr trwy ffydd—
Mae'r ffordd yn rhydd, trwy'r gwaed,
O ddyfnder pob rhyw wae a chur,
A dolur, at y TAD.

4 Cyd-ddyoddef â'n gwendidau mae,
Gwyr am ein gwae i gyd,
A chydymdeimla megys brawd,
Tan groes, a gwawd, a llid. Amen.

## 204 M. C.

PAN sycho'r moroedd dyfnion maith,
Pan syrthio ser y nen,
Yr Hwn fu farw ac sydd fyw,
Ar Seion fydd yn Ben.

O Seion! llawenhâ trwy ffydd,
Dy Briod di sydd Ben;
Mae pob awdurdod ganddo Ef,
Ar orsedd nefoedd wen.

'en corph yr Eglwys, dyn, a DUW—
Dysgleirdeb delw'r TAD;
phob cyflawnder mawr ei werth,
I'r euog ynddo'n rhad. Amen.

## 5 M. N. 10au.

*ORWYD* teml yr ARGLWYDD yn y nef,
*gwelwyd* arch ei lân gyfamod Ef;

Holl ryfeddodau Person CRIST a'i waith,
A welir yno i dragwyddoldeb maith.

2 Cyfiawnder Duw sydd yno'n ddysglaer iawn
A'r gyfraith bur, bob iot o honi, 'n llawn;
Ond i bechadur melys yw y sain
Fod trugareddfa hefyd rhwng y rhai'n.

3 Y tanllyd gledd fu'n effro iawn cyn hyn—
Taranau a mellt ofnadwy Sinai fryn
Sy'n awr yn dawel yn yr arch ddilyth—
Y gair "Gorphenwyd" a'u tawelodd byth.

4 Mae'r Archoffeiriad yn taenellu'r gwaed,
Mewn gwisgoedd sanctaidd llaesion hyd ei draed,
O fewn y llen—sancteiddiaf lys y nef—
Ac enwau'r llwythau ar ei ddwyfron Ef.

5 Priodoliaethau'r nefoedd yn gytun
Sydd yno'n gwenu ar golledig ddyn;
Mae hedd yn awr o'r nef i'r llawr yn lli,
A noddfa gref o fewn y nef i ni. Amen.

## 206 M. N. 8. 7. 3.

1 MAWR oedd CRIST yn nhragwyddoldeb,
Mawr yn gwisgo natur dyn;
Mawr yn marw ar Galfaria,
Mawr yn maeddu angeu'i hun:
Hynod fawr yw E'n awr,
Brenhin nef a daear lawr.

2 *Mawr yw* IESU yn ei Berson,
*Mawr fel Duw* a mawr fel dyn;

Mawr ei degwch a'i hawddgarwch.
Gwyn a gwridog têg ei lun:
Mawr yw Ef yn y nef,
Ar ei orsedd gadarn gref.

3 Mawr yw IESU yn ei swyddau,
Mawr fel Archoffeiriad glân;
Mawr fel Prophwyd, mawr fel Brenhin.
Mawr fel Bugail o fy mlaen:
Mawr yw'r gwaith IESU wnaeth,
Fe gaiff glod dros oesoedd maith.

4 Mawr yw IESU, medd pob angel,
A phob sant trwy'r nefoedd wiw;
Mawr, medd calon pob credadyn
Sy ar y ddaear lawr yn byw:
Mawr ei fri—unwn ni
I fawrhau am Galfari. Amen.

## 207 M. N. 7. 6.

1 MAE moroedd o ddoethineb,
Oes, ynot, f'ARGLWYDD mawr;
Annoeth wyf fi, ymbiliaf
Am beth o hono i lawr,
I'm harwain trwy'r fath anial,
Y nos â cholofn dân,
Ac onide nis gallaf
Fi gerdded cam yn mlaen.

2 *Wyt Brophwyd* mawr i arwain
*Dy Eglwys* bur fel hyn,

Trwy groesffyrdd hyll, a'i thywys
I gopa Seion fryn;
I drefnu manna nefol
Yn lluniaeth i bob un,
Yn ol ei amgylchiadau,
A'i eisiau ef ei hun.

3 O dysg fy enaid gwirion
I deithio'r anial dir,
Rhag myrdd o geimion lwybrau,
I gadw ar y gwir;
Doethineb i'm cyf'rwyddo
Fel cafod fwyn o wlith,
Er maint sy am fy rhwydo,
Na chyfeiliornwyf byth. Amen.

## 208 M. N. 7. 6.

1 FE safai'n Harchoffeiriad
Rhwng euog fyd a'r TAD,
A rhoddai'i Hun yn bridwerth
O'i wirfodd, heb nacâd;
Fe ddaeth yn mlaen â'i aberth,
Fe'i hoeliodd ar y pren,
Agorodd, trwy ei haeddiant,
Holl ddrysau'r nefoedd wen.

2 A thyma'r Angel cadarn
Sy'n sefyll uwch y nen,
A'r gwregys am ei lwynau,
A'r meitr am ei ben;
*Yn dal* y thuser sanctaidd
*Sydd o* aroglau'n llawn,

A'r tarth yn codi' fyny
O fore hyd brydnawn.

3 Mi rof fy nwylaw bellach
Ar ben yr Aberth mawr;
Mi rifaf yno'n gryno
Fy holl bechodau i lawr:
A'm dagrau hallt mi olchaf
Draed fy Iachawdwr CRIST,
Y traed mor fuan redodd
I achub f'enaid trist. Amen.

## 209 M. N. 7. 6.

1 HOLL deyrnas fawr rhagluniaeth
A ro'es y TAD ei hun,
A phob awdurdod ynddi,
Yn nwylaw Mab y dyn;
Ar bob rhyw greaduriaid
O'r ddaear lâs i'r nen,
I'w cynal a'u rheoli,
Gosodwyd Ef yn Ben.

2 Tros luoedd mawrion nefoedd,
A lluoedd daear gron,
Awdurdod y Messiah
Sy'n cyrhaedd oll o'r bron;
Ac felly'r drom greadigaeth
Sydd ar ei ysgwydd gref;
Cysondeb pob ysgogiad
*Oddiwrth ei fysedd* Ef.

3 Wel, bellach trof fy ngolwg
Fyth tua'r orsedd wen,
Yn nghanol pob cynddaredd
Wy'n weled îs y nen:
Fy Iesu sy'n rheoli
Yr afreolus lu,
O ddyfnder uffern isod,
I uchder nefoedd fry. Amen.

## 210 M. C. D.

1 MOR beraidd, i'r credadyn gwan,
Yw hyfryd Enw Crist!
Mae'n llaesu ei boen, yn gwella'i glw
Yn lladd ei ofnau trist:
I'r yspryd clwyfus rhydd iachâd—
Hedd i'r drallodus fron;
Mae'n fanna i'r newynog ddyn,
I'r blin, gorphwysfa lon.

2 Hoff Enw! fy ymguddfa mwy—
Fy Nghraig a'm Tarian yw;
Trysorfa ddiball yw o ras,
I mi, y gwaela'n fyw:
Iesu! fy Mhrophwyd, a fy Mhen,
F' Offeiriad mawr, a'm Brawd,
Fy mywyd i, fy ffordd, fy nod,
Derbyn fy moliant tlawd. Amen.

## 211 M. C. D.

1 *MAE Enw* Iesu mawr yn 'stor
*Sy'n llawn* o drysor drud;

Ac ni thalasai gras oedd lai
  I dynu beiau'r byd:
Mae parch yn llanw'r nef yn un,
  I Enw Iesu mawr;
Mae'r holl angylion glân, yn llu,
  'N ymgrymu iddo'n awr.

2 Gwaredwr yn y preseb tlawd
  Ac yn y gwawd i gyd;
Gwaredwr ar y groes oedd Ef
  Yn dyoddef Dwyfol lid:
Er llwyr waredu torf ddiri',
  Ar Galfari fe ro'dd
Anfeidrol Iawn, nes gwneuthur byth
  Gyfiawnder wrth ei fodd.

3 Oddiwrth y bai gwaredu mae,
  Oddiwrth y wae yn nghyd;
Oddiwrth elynion oll, a'u gwg,
  A'r drwg sydd yn y byd:
Trwy holl garcharau Edom gaeth
  I'r lan y daeth fel Duw;
Ac am ei goncwest fawr bydd son—
  Gwaredwr Seion yw. Amen.

## 212 M. S.

1 TI DDUW a garaf; ynot Ti
  Y mae i mi gadernid;
*Yr Arglwydd imi'n* Graig y sydd,
  *Efe a'm rhydd* mewn rhyddid.

2 Fy Nhwr a'm Hamddiffynfa yw,
Mae'n rymus Dduw i'm gwared;
Fy Nharian cryf a'm Corn yw Naf,
Ac ynddo gwnaf ymddiried.

3 Galwaf ar Dduw mewn gweddi a chân,
Yr Arglwydd glân a folaf;
Ac felly rhag fy ngelyn cas,
Yn rhydd trwy ras y byddaf.

4 O'm hing y gelwais ar Dduw lef,
Fe glybu'm llef yn gwaeddi;
O'i deml y clybu Duw fy llais,
Atebodd gais fy ngweddi. Amen.

## 213 M. S.

1 Yr Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf;
Caf orwedd byth mewn porfa fras,
Ar lan dŵr gloewlas araf.

2 Fe goledd f'enaid, ac a'm dwg
'R hyd llwybrau diddrwg, cyfion;
Er mwyn ei Enw mawr di-lys,
Fe'm tywys ar yr union.

3 Pe rhodiwn i, nid ofnwn hyn,
Yn nyffryn cysgod angau;
*Wyt gyda* mi â'th nerth a'th ffon;
*On'd tirion* ydyw'r arfau?

O'th nawdd y daw y doniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd;
A minau a breswyliaf byth
A'm nyth yn nhŷ yr ARGLWYDD. Amen.

## 214 M. S.

DYSGWYLIAF o'r mynyddoedd draw,
Lle daw im' help' wyllysgar;
Yr ARGLWYDD rydd im' gymhorth gref,
Hwn a wnaeth nef a daear.

Dy droed i lithro, Ef nis gâd;
A'th Geidwad fydd heb huno:
Wele! Ceidwad Israël lân
Heb hun na hepian arno.

Ar dy ddeheulaw mae dy DDUW,
Yr ARGLWYDD yw dy Geidwad;
Dy lygru ni chaiff haul y dydd,
A'r nos nid rhydd i'r lleuad.

Yr ION a'th geidw rhag pob drwg,
A rhag pob cilwg anfad:
Cai fyn'd a dyfod byth yn rhwydd,
Yr ARGLWYDD fydd dy Geidwad. Amen.

## 215 M. H.

O IESU mawr, y Meddyg gwell,
Gobaith yr holl ynysoedd pell,
Dysg *imi seinio 'maes* dy glod,
*Mai digyfnewid wyt* erioed.

2 Yr Iesu pur yw'm Sail a'm Pen,
F' Eiriolwr yn y nefoedd wen,
F' Arweinydd mwyn o'r byd i maes,
A'm Noddfa glyd yn angeu glas.

3 Dewisais Ef, ac Ef o hyd
Ddewisaf mwy tra yn y byd;
Can gwynfyd ddaeth i'm henaid tlawd—
Cael Brenhin nefoedd imi'n Frawd. A

## 216 M. H.

1 RHYW Wr—rhyfeddol Wr yw Ef,
Sydd imi'n Lloches gadarn gref;
Fel uchel graig, fy nghysgod fydd
Rhag marwol wres y poethlyd ddydd.

2 Yr hynod Graig, ein Iesu cu,
Sy'n llawer uwch na'r nefoedd fry;
O dano Ef y llecha'i'n glyd,
Yn mhob rhyw 'stormydd yn y byd.

3 Taraw'd y Graig—mae ffrydiau hon
Yn oeri'r llosgfa dan fy mron:
Taraw'd y Graig—a'i dyfroedd pur
Yw'm cysur yn yr anial dir.

4 Yn holltau'r Graig fy nhrigfa fydd,
Trwy ryfedd faith dragwyddol ddydd;
*Caf yma* hyfryd wedd fy Nuw,
*Dysgleiriad* ei berffeithiau gwiw. Ams

## 217 M. N. 8. 7. 7. 7.

1 Y MAE UN uwchlaw pawb arall
Drwy'r greadigaeth fawr i gyd,
Sydd yn haeddu ei alw'n Gyfaill,
Ac a bery'r un o hyd:
Brawd a anwyd ini yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.

2 Nis gall meithder ffordd, nac amser,
Oeri dim o'i gariad Ef;
Mae ei fynwes byth yn dyner,
A'i gymdeithas byth yn gref:
Nis gall dyfroedd angeu llym
Ddiffodd ei angherddol rym.

3 Yn mha le y ceir, er chwilio,
Neb yn caru fel Efe?
P'le mae'r cyfaill, er ein hachub,
A ro'i fywyd yn ein lle?
Nid oes debyg iddo Ef
Drwy y ddaear faith a'r nef.

4 Pan fo pawb yn cefnu arnom
Yn y dyffryn tywyll, du—
Pan fo pob daearol undeb
Yn ymddatod o bob tu,
Saif E'n ffyddlon y pryd hyn,
Ac a'n dwg yn iach drwy'r glyn.

5 A phan *ymddangoso eilwaith*
*Yn ngogoniant pur ei* DAD,

Heb un difyrwch îs y nef
Ond caru ac edrych arno Ef. Amen.

## 221

M. H.

1 MAE CRIST yn bobpeth i'r holl saint:
Pa le mae neb mor fawr eu braint!
CRIST yw eu Rhan, CRIST yw eu Brawd—
Nis gall y rhai'n fod byth yn dlawd.

2 CRIST, trwy ei waed, a'u gwnaeth yn rhydd;
CRIST yw yr Haul sy'n gwneyd eu dydd;
CRIST trwy ei air, a'u gwnaeth yn fyw;
CRIST yw eu Drws a'u Ffordd at DDUW.

3 CRIST yw y Graig a'u deil i'r lan,
Er nad ŷnt hwy ond llesg a gwan;
I'r nef hwy ânt, er llid y ddraig,
Gan fod eu pwys ar Had y Wraig.

4 CRIST erddynt aeth i lawr i'r bedd;
Trwy GRIST a'i waed maent yn cael hedd;
CRIST ar eu rhan sydd yn y nef—
Ar fyr cânt oll fod gydag Ef. Amen.

## 222

M. N. 7au. 6ll.

1 TI dy Hunan, IESU mawr,
Yw fy Noddfa ar y llawr
Ni ddaw byth, ni fu erioed
*Dy gyffelyb* îs y rhod:
*Tyr'd yn* glau, 'does îs y ne'
*Arall un* a leinw'th le.

Rhosyn Saron, teca'i ddawn,
Seren fore ddysglaer iawn,
Sydd yn arwain hyfryd wawr
Trwy'r anialwch dyrys mawr—
Yn goleuo'r llwybr maith,
Tua'r wlad o fêl a llaeth.

Iesu, gorphwys yn dy glwy',
Wna fy enaid bellach mwy;
Dyma'm noddfa werthfawr lawn,
Fyth o fore hyd brydnawn;
Dyma 'nghysur oll i gyd,
Dyma'm nerth i'r nefol fyd. Amen.

## 23 M. N. 7. 6.

FY Sylfaen fawr dragwyddol
  Yw Crist fu ar y groes;
Ni cheisiaf ond ei Hunan,
  Tra pery dyddiau f'oes:
Mi ymorphwysaf arno
  Yn wyneb 'stormydd blin:
Mae Iesu Grist y Cyfion
  Yn ddigon im' ei Hun.

Am Graig yr iachawdwriaeth
  Fy enaid egwan cân,
Y Sylfaen fawr dragwyddol
  A'r hyfryd Gonglfaen:
Fy Noddfa rhag ystormydd,
  A'm Cysgod rhag y gwres;
*Mae'n ganmil* mwy rhagorol
  *Na chedyrn* furiau pres. Amen.

## 224

M. N. 7. 6.

1 CE'S gadarn Graig i ymguddio,
Ce's Feddyg i'm hiachau,
Ce's hefyd Fugail ffyddlawn,
Ce's ffynnon i'm glanhau,
Ce's wisg i guddio'm noethni,
Ce's eli wrth fy nghlwy',
Ce's Briod diwahaniad—
Ni bydda'i 'mddifad mwy.

2 Ce's ddwr o'r graig i yfed,
I dori'm syched mawr;
Ce's beunydd fara i fwyta—
O'r nef a ddaeth i lawr;
Ce's delyn tu yma i angeu,
Fy holl gystuddiau ffodd,
I ganu i'r Oen fu farw—
Mae'n Briod wrth fy modd. Amen.

## 225

M. N. 7. 6.

1 AM Graig i adeiladu,
Fy enaid chwilia'n ddwys;
Y Sylfaen fawr safadwy,
I roddi 'arni'th bwys:
Bydd melys yn yr afon
Cael Craig a'm deil i'r lan,
Pan fyddo pob ystormydd
Yn curo ar f'enaid gwan.

2 *Y Graig* yw'm Noddfa dawel,
*Dym*unwn ganu am hon

3 Pan byddwy'n rhoddi ffarwel
Am byth i'r ddaear gron:
O fewn y Graig nid ofnaf
Elynion gwaetha'u gwedd;
O fewn y Graig mi ganaf
Yn ngwyneb angeu a'r bedd. Amen

## 226

M. B.

1 O WELE 'r Ceidwad mawr
A ddaeth i lawr o'r nef,
I achub gwaelaidd lwch y llawr!
Gogoniant iddo Ef.

2 Bu farw yn ein lle
Ni, bechaduriaid gwael;
Mae pob cyflawnder ynddo 'Fe
Sydd arnom eisiau'i gael.

3 Ei 'nabod Ef yn iawn
Yw'r bywyd llawn o hedd:
A gwel'd ei iachawdwriaeth lawn
Sydd yn ddigonol wledd.

4 Cael teimlo gwaed y groes
Yn dofi'r loes a'r cur,
A wnaeth i filoedd yn mhob oes
I seinio'r anthem bur. Amen.

## 227

M. B.

1 *BOED Iesu im' o hyd*
*Yn Dwr a Tharian gref,*

Rhag dyfais Satan a'i holl lid,
  A'i saethau tanllyd ef.

2 Yn yr Iorddonen fawr
  Boed yno' ngrym y dôn,
Yn Archoffeiriad anwyl iawn
  I'm harwain drwyddi'n llon.

3 Tangnefedd sydd i'r pell
  A'r agos ynddo Ef;
Mae croesaw 'nawr i ddod yn mlaen
  Yn eon tua'r nef. Amen.

## 228

M. N. 7au. 6ll.

1 GRAIG yr oesoedd! ynot Ti
  Holltwyd drosof, cuddier fi;
Boed i'r dwr yn nghyd a'r gwaed
O dy ystlys friw a gaed,
Olchi f'enaid oll yn lân,
F'achub rhag tragwyddol dân.

2 Haeddiant genyf fi nid oes,
Glŷn fy enaid wrth dy groes:
Pe bai'm dagrau'n llifo byth,
Pe bai'm sel yn dân dilyth,
Iawn dros bechod ni rydd un—
Ti raid achub, Ti dy Hun!

3 Tra'n anadlu ar y llawr,
Pan yr hunwy'r olaf awr,
Yn y byd ysprydol draw,
Yn y fanol farn a ddaw,
*Graig yr oesoedd!* ynot Ti
*Holltwyd drosof,* cuddier fi. Amen.

## 229

M. C.

1 IESU yw tegwch mawr y byd,
A thegwch pena'r nef;
Ac y mae'r cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef.

2 IESU sy'n fwy na'r nef ei hun—
Yn fwy na'r ddaear las;
Ac IESU 'n unig fydd fy oll
Fyth, fyth o hyn i maes.

3 Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de,
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
'Does debyg iddo 'Fe.

4 Mae holl deganau'r ddaear hon
Fu gynt yn fawr eu grym,
Yn ngwydd fy IESU 'n gwywo i gyd,
Ac yn diflanu'n ddim.

5 Y mae aroglau pur ei ras
Megys aroglau'r nef;
Ac nid oes gymhar is yr haul,
Yn unlle iddo Ef. Amen.

## 230

M. C.

1 YN mysg gwyryfon Seion fry,
Fel lili yn mysg y drain;
IESU yw'r gwrthddrych goreu'i wedd,
*A chariad* pur y rhai'n.

2 Ac megys pren afalau pêr
Yn nghanol prenau'r coed;
Felly f'Anwylyd yntau 'mhlith
Y meibion sy'n cael clod.

3 Eisteddais dan ei gysgod Ef,
A'i ffrwyth oedd felys iawn;
Ac yma treuliwn ddyddiau f'oes
Fyth, fyth, yn ddedwydd iawn. Amen.

## 231 M. C.

1 IESU, difyrwch f'enaid drud
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau d'Enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

2 A than dy aden dawel, bur,
'Rwyf yn dymuno byw;
Heb ymbleseru byth mewn dim
Ond cariad at fy Nuw.

3 Melysach nag yw'r diliau mêl
Yw mynyd o'th fwynhau;
Ac nid oes genyf bleser sydd
Ond hyny yn parhau. Amen.

## 232 M. N. 8. 7. 4.

*1* *IESU, Iesu,* 'rwyt yn ddigon,
*'Rwyt yn ll*awer mwy na'r byd;

[wy trysorau sy'n dy Enw,
Na thrysorau'r India i gyd:
Oll yn gyfan
Ddaeth i'm meddiant gyda'm Duw.

[i ddymunwn wel'd yn rhwygo
Holl gymylau mawr y nef,
bechadur wel'd pelydryn
O'i ogoniant dysglaer Ef.
O datguddia
Degwch gwedd dy wyneb-pryd.

's yw dy brydferthwch yma
Yn rhoi myrdd i'th garu'n awr;
Beth a wna dy degwch hyfryd
Yna'n nhragwyddoleb mawr!
Nef y nefoedd
A'th ryfedda yn ddidrai. Amen.

3 M. N. 8. 7. 4.

Y MAE gwedd dy wyneb grasol
Yn rhagori llawer iawn,
Ar bob peth a welodd llygad
Ar hyd wyneb daear lawn:
Rhosyn Saron.
Ti yw tegwch nef y nef.

wyn a gwridog yw f'Anwylyd,
Gwyn a gwridog yw ei wedd;
enhin y brenhinoedd ydyw
Yma, a thu draw i'r bedd:
*Mae ei degwch*
*'edi'm hennill* ar ei ol.

3 Mae deng myrddiwn o rinweddau
Dwyfol, yn ei Enw pur;
Yn ei wedd mae tegwch ragor
Nag a welodd môr na thir;
Rhosyn Saron!
Oll yn hawddgar yw Efe.

4 Mae angylion yn cael bywyd
Yn ei Ddwyfol nefol hedd;
Ac yn sugno'u holl bleserau
Oddiwrth olwg ar ei wedd:
Byd o heddwch
Yw cael aros yn ei ŵydd. Amen.

## 234 M. N. 8. 7. 4.

1 WELE 'n sefyll rhwng y myrtwydd,
Wrthddrych teilwng o fy mryd:
Er o'r braidd yr wy'n adnabod
Ei fod uwchlaw gwrthddrychau'r byd;
Henffych fore
Caf ei weled heb un llen.

2 Rhosyn Saron yw ei enw—
Gwyn a gwridog hardd ei bryd;
Ar ddeng miliwn mae'n rhagori
O wrthddrychau pena'r byd:
Tecach ragor
Yw na welodd nef na llawr.

3 *Beth sydd* imi mwy a wnelwyf
*Ag eilunod* gwael y llawr?

Tystio 'rwyf nad yw eu cwmni
I'w cymharu â'm IESU mawr:
O am aros!
Yn ei gariad ddyddiau f'oes. Amen.

## 235

M. N. 7. 4.

1 GWYN a gwridog, hawddgar iawn,
Yw f'Anwylyd;
Doniau'r nef sydd ynddo'n llawn,
Peraidd hyfryd;
Daear faith, ac uchder nef
Fyth ni wela
Arall debyg iddo Ef;
Haleluia!

2 Dygodd f'enaid ar ei ol
Yn dra rhyfedd;
Mi orphwysaf yn ei gôl
Hyd y diwedd;
Ffowch greaduriaid o bob rhyw,
Mwy ni chara'
Wrthddrych arall ond fy Nuw;
Haleluia!

3 Ynddo'i hunan mae yn llawn,
Bob trysorau,
Dwyfol berffaith, werthfawr Iawn,
Am fy meiau;
*Gwir ddoethineb*, hedd, a gras,
*Gwerthfawroca'*,

Nerth i hollol gario'r maes;
Haleluia! Amen.

## 236 M. N. 7. 4.

1 FY Anwylyd hawddgar yw,
Gwyn a gwridog;
Ac ar filoedd Israel wiw,
Mae'n fanerog;
Perffaith degwch sy'n ei wedd,
IOR tragywydd;
Ef sy gadarn D'wysog hedd
Ar lu'r ARGLWYDD.

2 IESU yw difyrwch f'oes,
Yn fy mlinfyd;
Ac ymffrostiaf yn ei groes
Tros fy mywyd;
Dan ei gysgod nos a dydd
Gwnaf fy nhrigfa;
Fy Nhwr cadarn byth a fydd;
Haleluia! Amen.

## 237 M. H.

1 FY Mugail gwych, fy IESU gwiw,
Hoff yw dy lais, hardd yw dy liw;
Rhagori'r wyt, f'Anwylyd cu,
Ar ddengmil o'r angylion fry.

2 'Does unrhyw harddwch yn y byd,
*Nac un o* fewn y nef i gyd,
*Na gras,* doethineb, nerth, na dawn,
*Nad yw ef* yn fy IESU 'n llawn.

3 Mae'n wyn, mae'n sanctaidd, mae'n ddifai,
Mae'n wridog—colli ei waed a wnai;
Mae'n Iawn tragwyddol, aberth mawr,
Yn addas ini, lwch y llawr.

4 Ie, gwyn a gwridog, hawddgar oll,
Cyfaill i'r rhai fu gynt ar goll;
O! melys odiaeth yw ei fin,
A'i gusan fel llysieuog win.

5 Gad imi dreulio'm dyddiau i gyd
I edrych ar dy wyneb-pryd;
Difyru f'oes, o awr i awr,
I garu fy Eiriolwr mawr. Amen.

## 238 M. H.

1 'RWYF yn dy garu, f'anwyl DDUW,
Yn well na phleser o bob rhyw;
'Rwyf yn dy garu—dyna i gyd
Fy holl ddyddanwch yn y byd.

2 Can's mae dy harddwch, IESU mawr
Yn fwy na harddwch nef a llawr;
A harddach harddach fyth o hyd
Yw hyfryd wedd dy wyneb-pryd.

3 Yn mhen rhyw oesoedd rif y gwlith,
Fe wel y saint Di'n harddach byth;
A blas o'r newydd iddynt hwy
Fydd canu am dy farwol glwy'.

4 Pan *ddysgwyf 'nabod* iaith y wlad,
*A phêr ganiadau* tŷ fy Nhad,

Dechreuaf gân am farwol glwy'
Na chlywir diwedd arni mwy. Amen.

## 239 M. N. 8. 8.

1 NID yw hardd wrthddrychau daear
Oll ond dim wrth IESU hawddgar;
Nid yw nefoedd i'w chydbrisio,
Pe b'ai nefoedd i'w chael hebddo.

2 IESU ei hunan yw fy nefoedd
Dros fy oes, ac yn oesoesoedd;
Nef y nefoedd fydd ei garu,
Ei fwynhau, a'i wir foliannu.

3 IESU, fy anwylaf Wrthddrych!
Gobaith f'enaid sy'n dy chwennych:
Ti mae'm dagrau yn ymofyn,
Cri fy meddwl yn dy erfyn.

4 Anwyl IESU! dod im' brofiad
Helaeth, helaeth, o dy gariad;
Dyro im' dy bresenoldeb—
Hardd a hyfryd wedd dy wyneb.

5 Brysiwn oll i edrych arno,
Fel y byddom debyg iddo;
Edrych arno yn dragwyddol
A'n gwna'n llawn o'i ddelw nefol. Amen.

## 240 M. N. 8. 8.

1 *O! NA chawn* i olwg hyfryd
*Ar ei* wedd, Dywysog bywyd;

Tegwch byd, a'i holl bleserau,
Yn ei ŵydd a lwyr ddiflanai.

Melys odiaeth yw ei heddwch,
Annghymharol ei brydferthwch;
Ynddo'n rhyfedd cydlewyrcha
Dwyfol fawredd a mwyneidd-dra.

Uchelderau mawr ei Dduwdod,
A dyfnderoedd ei ufudd-dod,
Sy'n creu synu fyth ar synu
Yn nhrigolion gwlad goleuni.

O na allwn garu'r Iesu
Yn fwy ffyddlon, a'i was'naethu;
D'weyd yn dda mewn gair am dano,
Rhoi fy hun yn gwbwl iddo. Amen.

## 41 M. N. 8. 7. D.

ANWELEDIG! 'rwy'n dy garu,
  Rhyfedd ydyw nerth dy ras;
Tynaist f'enaid â'th hawddgarwch
  O'i bleserau pena'i maes:
Ti wnest fwy mewn un mynydyn
  Nag a wnaethai'r byd o'r bron,
Ennill it' eisteddfod dawel
  Yn y galon gareg hon.

Bydd dy degwch fyth yn newydd,
  Fyth o newydd enyn dân,
*Tros holl oesoedd* tragwyddoldeb
  *Fyth heb flino* yn y blaen;

Fflam angherddol heb un terfyn
  Trwy holl raddau'r nef yn un;
Hi barhâ i losgi'n oleu
  Tra parhao Duw ei hun.

3 Cauwch lygaid, nac agorwch,
  Ar un gwrthddrych îs y nef;
Craffa f'enaid olwg symyl
  Ar ei degwch Dwyfol Ef;
Mae ei Hanfod, mae ei Enw,
  Mae ei Berson sanctaidd pur,
Gymmaint uwch teganau natur
  Ag yw'r nefoedd uwch y tir. Amen.

## 242 M. N. 8. 7. D.

1 MARCHOG yn dy degwch Dwyfol,
  A datguddia'th hawddgar wedd;
Mae'th hawddgarwch yn dychrynu
  Angeu, uffern fawr, a'r bedd:
A chalonau meibion dynion
  A lesmeiriant ger dy fron,
Wedi'u trechu gan belydrau
  Cariad dy wynebpryd llon.

2 Tecach yw na meibion dynion,
  Fe dywalltwyd gras â rhîn
Ar ei wefus, melys odiaeth
  Yw ei enau, fel y gwin;
Ar ei ruddiau mae llednelsrwydd,
  Purdeb a mwyneidd-dra 'nghyd,
*Yn rhyw hyfryd gydgymmysgu—*
  *Iesu, tegwch wyt i gyd!* Amen.

## 43 M. N. 8. 7. D.

1 NID yw'r haul a'i faith fendithion,
Bywyd hardd y ddaear las,
Sy'n llawenu pob creadur,
Yn enwedig llysiau'r maes:
'Dyw ei harddwch a'i oleuni,
A'i effeithiau ar y llawr,
Onid dim wrth eu cymharu
A rhinweddau IESU mawr.

2 Dyma'r gwrthddrych wyf yn caru
Gwel'd ei degwch, hyfryd wawr:
Peidied da, a pheidied dynion,
Peidied cyfoeth daear fawr,
Peidient sefyll yn ei gysgod—
Ciliwch, ciliwch, rhoddwch le—
Ni chaiff dim o tan yr wybren
Rwystro f'enaid ato 'Fe. Amen.

## 44 M. N. 7. 6.

1 FY Nuw, fy addfwyn IESU,
Boed clod i'th Enw byth;
Doed dynion i dy foli
Fel rhif y bore wlith:
O na b'ai gwellt y ddaear
Yn delyn aur bob un,
I ganu i'r Hwn a anwyd
I'r byd i brynu dyn.

2 O IESU, *pwy all* beidio
*Dy ganm*awl ddydd a nos?

A phwy all beidio cofio
  Dy Ddwyfol farwol loes?
A phwy all beidio canu
  Am iachawdwriaeth rad,
Ag sydd yn teimlo gronyn
  O rinwedd pur dy waed?

3 O! diolch am Gyfryngwr,
  Gwaredwr cryf i'r gwan!
O! am gael ei adnabod,
  Fy Mhriod a fy Rhan:
Am GRIST a'i ddyoddefiadau—
  Rhinweddau marwol glwy—
Y seinir pêr ganiadau
  I dragwyddoldeb mwy. Amen.

## 245 M. N. 7. 6.

1 TEILWNG yw'r Oen a laddwyd
  O'r holl ogoniant mawr,
Trwy ganol nef y nefoedd
  Ac yma ar y llawr;
Pan byddo'r holl elfenau
  Yn toddi gan y tân,
Yr IESU mawr a'i aberth
  Fydd ein tragwyddol gân.

2 Mae'i ras fel môr diwaelod,
  Di-drai, diderfyn yw;
*Mae'n llawn* ar fynydd Seion,
  *Mae'n llawn* yn nghalon Duw;

Fe gododd gras fyrddiynau
O ymyl uffern dân,
I fyny i Gaersalem
I seinio'r newydd gân.

8 Mi gânaf tra fo anadl
O fewn y ffroenau hyn,
Am gariad yn dyoddef
Ar ben Calfaria fryn;
Am goron ddrain blethedig,
Am hoelion geirwa'u rhyw,
I gànu'm henaid euog
Fel eira gwyna'i liw. Amen.

# 246 M. N. 7. 6.

1 AGORODD ddrws i'r caethion
I dd'od o'r cystudd mawr;
A'i werthfawr waed fe dalodd
Eu dyled oll i lawr:
Nid oes dim damnedigaeth
I neb o'r duwiol had—
Y gwaredigion canant
Am rinwedd mawr y gwaed.

2 O foroedd o ddoethineb
Oedd yn y Duwdod mawr,
Pan y cyfranai'i gariad
I bryfed gwael y llawr;
A gwneuthur i'w drugraedd,
*A'i dostur* maith yn nghyd,

I redeg megys afon
Lifeiriol dros y byd!

3 O gariad heb ei gymhar!
A dyna'r testyn sy
Yn llanw holl ganiadau
Y seintiau dedwydd fry:
Anfeidrol ras, rhyfeddol,
Pe tawai am dano ddyn,
Fe seiniai'r fud greadigaeth
Yn ddiau trwyddi'n un. Amen.

## 247

M. N. 6. 6. 4.

1 CYDUNED nef a llawr
I foli'n HARGLWYDD mawr
Mewn hyfryd hoen;
Clodforwn tra fo chwyth,
Ei ras a'i hedd dilyth,
Ac uchel ganwn byth
Teilwng yw'r Oen.

Molianned nef a llawr
Am waith ei gariad mawr,
Heb dewi sôn;
Anrhydedd, parch, a bri,
Fo i'n Gwaredwr ni,
Dros oesoedd maith diri':
Teilwng yw'r Oen.

*3 Gogoniant* fo i'r TAD,
*Ac hefyd* i'r MAB rhad

A'n prynodd ni;
Ac i'r GLÂN YSPRYD byth,
Tra bo na chân na chwyth,
Esgyned clod dilyth
I'r nefoedd fry. Amen.

## 48 M. N. 8au. 8ll.

1 FEL fflamau angherddol o dân
Yw cariad f'Anwylyd o hyd;
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
Fe yfodd yr afon i gyd:
Ymaflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd â'r Duwdod yn un,
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe'i llanwodd â'i haeddiant ei Hun.

2 'R anrhydedd, y gallu, a'r clod,
Y moliant a'r parch yn gytun,
O'r nefoedd i'r ddaear gânt fod
Yn gyfan i'm HARGLWYDD ei Hun:
Aed son am dy angeu i ma's
O'r gogledd hyd eithaf y de',
Helaethed terfynau dy ras,
Mor belled a chyrhaedd y ne'.

3 Aed ein Haleluia i'r lan
Trwy'r awyr anfeidrol ei maint:
Cymmysged caniadau rhai gwan
A thyrfa luosog o saint;
*Ni gawsom gân cymmaint a'r byd,*
*Cân cymmaint drachefn a hyn,*

Càn cymmaint a'r nefoedd i gyd
Brydnawngwaith ar Galfari fryn.
Amen

## 249 M. N. 8au. 8ll.

DATGUDDIWYD dirgelion i ma's,
Dirgelion cuddiedig i'r byd,
Meddyliau trugaredd a gras
I'r penaf bechadur i gyd,
A roed mewn addewid mor gref,
Na welir fyth fythoedd ei hail,
O ddyfnder y ddaear i'r nef,
Mor gywir, mor sicr ei sail.

2 Fe'm boddwyd mewn syndod yn lân
Wrth chwilio eu natur i ma's,
'Does angel na seraph a gân
Yn deilwng am ddyfnder ei ras:
Pwy bwysa'i ddyoddefaint ar bren?
Pwy bwysa lawn haeddiant ei loes?
Tra feddaf ymadrodd îs nen
Mi ganaf am goncwest ei groes. Amen

## 250 M. H.

1 HENFFYCH i Enw IESU gwiw,
Syrthied o'i flaen angylion Duw
Rhowch iddo'r parch holl deulu'r nef
Yn ARGLWYDD pawb coronwch Ef.

2 *Chwychwi* a brynwyd trwy ei waed
*Plygwch yn* isel wrth ei draed

Fe'ch tynodd â thrugaredd gref—
Yn Arglwydd pawb coronwch Ef.

3 Boed i bob llwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith,
Gydganu'n llafar iawn eu llef—
Yn Arglwydd pawb coroner Ef. Amen.

## 251 M. C.

1 CYDUNWN â'r angylion fry,
Ein tannau yn gytun;
Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

2 Os ydyw'r Oen fu farw'n sail
Eu holl ganiadau hwy,
Mae'n haeddu, am farw drosom ni,
Ein mawl fil miloedd mwy.

3 Ac Ef yn unig biau'r mawl,
Drwy Ddwyfol hawl ddilyth,
A chlod uwchlaw a allwn ni
Ei roddi iddo byth.

4 Cyduned pob creadur byw
Uwchlaw ac is y nen,
I ro'i yn nghyd—can's teilwng yw—
Y goron ar ei ben.

5 Doed y greadigaeth eang oll,
Ag un soniarus lef,
I *ogoneddu'r* addfwyn Oen,
*A thraethu'i* foliant Ef. Amen.

## 252

M. C.

1 CLODFORWCH Enw Mab Du
Angylion gwynion gwawr;
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

2 Seraphiaid nef, pob un â'i dant,
Dan ganu moliant mawr;
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

3 Ei chwerwaf angeu, byth na b'e
I'w saint annghofio'r awr;
O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr.

4 Pob llwyth ac iaith—hil Adda i
Trwy'r holl gwmpasfyd maw
O! deuwch a chyhoeddwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr. A

## 253

M. N. 6. 8.

1 O CANED lluoedd llawr,
A llon angylion nef,
I Enw'n Harglwydd mawr,
A gorfoleddus lef;
I'w Enw Ef y gweddai bod
Mawl ac addoliad, parch a chlo

2 Hurtwymodd ar ein rhan
Yn nhragwyddoldeb pell;

Cymerodd blaid y gwan
Yn y cyfammod gwell;
Aeth yn ein lle a than ein baich
A'i gadarn, hollalluog fraich.

3 Fe ddaeth o uchder nef
I isaf barthau'r byd,
A'i ddyben grasol Ef
Oedd prynu'r caeth mewn pryd:
Emmanuel ddaeth ini'n Frawd—
Duw gyda ni ac yn y cnawd.

4 Cyduned nef a llawr,
A phob creadur byw
I foli gyda mi
Iachawdwr dynolryw,—
Yr Oen fu farw yn ein lle,
Clodfored pawb ei Enw E'. Amen.

4 M. N. 6. 8.

O NEFOL addfwyn Oen,
Iachawdwr dynolryw,
Doed pawb yn wir ddiboen
I foli'th Enw gwiw;
ae'th ddawn, a'th ras, a'th gariad drud,
llanw'r nef yn llanw'r byd.

Noddfa pechadur trist
Tan bob drylliedig friw,
phwys *euogrwydd* llym,
*Yn unig* yw fy Nuw:

'Does enw i'w gael o tan y nef
Yn unig ond ei Enw Ef.

3 Ei hyfryd Enw yw
Gorfoledd nef a llawr;
'Does gymhorth ini gael
Ond yn ei Enw mawr;
Yr IESU rŷdd i ni iachâd—
Efe yw'r Meddyg goreu gaed.

4 I'r gogledd, dwyrain, de,
Ac i'r gorllewin faith,
Yr elo'i Enw E'
Yn glodfawr yn mhob iaith;
Am glwyfau'r Oen a'i gariad rhad,
Boed melys ganmol yn mhob gwlad.

A

## 255 M. N. 6. 8.

1 YMGRYMED pawb i lawr
I Enw'r addfwyn Oen,
Yr Enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd sôn:
Y clod, y mawl, y parch, a'r bri,
Fo byth i Enw'n HARGLWYDD ni.

2 Am IESU mawr a'i ras
Y mae caniadau'r nef;
A'r anthem gyda blas
Sy'n myn'd i'w glustiau Ef;
*Telynau* aur sy'n canu'n un
*Effeithiol* goncwest Mab y dyn.

3 Llawn Haleluia mwy
I Frenhin dae'r a ne';
Dyoddefodd farwol glwy'
Yn ufudd yn ein lle:
O ddedwydd awr! O ddedwydd loes!
Bu'n Duw yn hongian ar y groes.

4 Coronau gawn cyn hir
Oll fel ei goron Ef,
A gwel'd 'i ogoniant pur,
Yn ddysglaer yn y nef;
A seinio'i glod a'i ryfedd waith
I eithaf tragwyddoldeb maith. Amen.

## 56 M. N. 11au.

NI allai'r holl foroedd byth olchi fy mriw,
Na gwaed y creaduriaid, er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messiah a'm gwella'n ddiboen,
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen!

O gariad! O gariad anfeidrol ei faint!
Fod llwch mor annheilwng yn cael y fath fraint—
Cael heddwch cydwybod, a'i chlirio trwy'r gwaed,
A chorph y farwolaeth, sef pechod, dan draed

*Cydganed y nefoedd* a'r ddaear yn nghyd
*Ogoniant tragwyddol* i Brynwr y byd;

Molianned pob enaid yr Arglwydd ar gân
Am achub anhydyn bentewyn o'r tân.

4 Wel bellach dechreuwn, mae'n ddigon o bryd,
I ganu caniadau Iachawdwr y byd:
Efe wnaeth y cwbwl, Efe biau'r clod,
Bydd moliant i'w Enw tra'r nefoedd yn bod.
Amen.

## 257 M. N. 11au.

1 Y CLOD, y gogoniant, y gallu o bob rhyw,
A redo fel moroedd i enw fy Nuw;
Y dechreu a'r diwedd, o'r ddaear i'r nef,
O ras ac o haeddiant yn unig yw Ef.

2 Bu farw, o gariad, ar bren yn fy lle,
I godi'r un gwaelaf o'r ddaear i'r ne';
Bendithion a gollais, ennillodd i mi,
A chanmil ychwaneg ar ben Calfari.

3 Wel, bellach, mi gredaf, er nad wyf ond gwan;
Edrychaf o ddyfnder y ddaear i'r lan:
Agorodd ei gariad ffordd newydd a byw,
O ganol tywyllwch i fynwes fy Nuw.

4 Cyduned trigolion y ddaear i gyd
Mewn sain o orfoledd i Brynwr y byd,
*Mor dirion* ei gariad i holl ddynolryw,
*I'r penaf* droseddwr ddychwelyd, a byw.
Amen.

# 258

M. N. 10au.

1 I OESOEDD maith, mwy na rhifedi'r dail,
Bydd mawl a chlod trwy'r nef i Adda'r ail
Am fyn'd dan faich dyledwyr gwael eu llun,
A thalu'n llwyr—a'r tâl oedd Ef ei Hun!

2 Ei Hun fe ro'es dros wael elynol ryw;
A marw wnaeth i ni a'n bath gael byw:
Y Deddfwr glân dan ddeddf a'i garwaf gur!
O ryfedd waith ei gariad perffaith pur!

3 Os edrych wnawn o'r llawr i uchder ne',
Nis ceir ei fath—y Cywir yw Efe:
Y Meichiau mawr ddyoddefodd yn y cnawd,
Y Cyfaill gwiw, a lŷn yn well na brawd.

Amen.

# 259

M. N. 10au.

1 POB natur doed, â'u nerthoedd oll yn awr
I ddatgan clod Duw, eu Creawdwr mawr;
Yr awyr glir a'r cyfan dan y rhod—
Y môr a'r tir, rhoent eu rhyglyddawl glod.

2 Dechreued sain Seraphiaid yn y nef,
Ddadseinio'n llu ger bron ei orsedd Ef:
Cyweirient eu telynau oll yn un,
I ganu clod y Duwdod yn y dyn.

3 Ar dir a môr, ei debyg, gwn, nid oes,
*Seraphiaid pur ni* thraethant byth ei oes:

Dringo a wnaf, trwy nerth ei ras, o'm g
Nes caffwy'n glir ei weled fel y mae. An

## 260 M. N. 8. 7. 4.

1 DYMA Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma Un sy'n caru maddeu
I bechaduriaid mawr eu bai;
Diolch iddo
Byth, am gofio llwch y llawr.

2 Hwn, fy enaid gwan, yw'r Ceidwad
Ddaeth i geisio'r pell yn ol;
Mae'n dwyn adref y colledig,
Dychwel y crwydredig ffol;
Cenir iddo
Byth, am waredigol ras.

3 Mae'n rhoi bywyd ac ymgeledd
I rai'n gorwedd yn eu gwaed;—
Gwisgo'r noeth, a golchi'r aflan,
Codi'r truan ar ei draed:
Teilwng ydyw
O'r gogoniant oll am hyn. Amen.

## 261 M. N. 8. 7. 4.

1 NID oes noddfa mewn creadur,
Rhaid ei chael yn nes i'r nef;
*'R unig* un i wael bechadur
*Yw ei* Aberth gwerthfawr Ef;

Mae'n ddigonol
Dros bechodau dynolryw.

2 Fe ddyoddefodd angeu creulon
Dan yr hoelion ar y groes;
A gorchfygodd luoedd uffern
Trwy rinweddau'i farwol loes;
Sain "Gorphenwyd"
Fyddo'n llenwi'r byd i gyd.

3 Mae afonydd mawrion ynddo
O drugaredd, gras, a hedd:
Er ein mwyn dyoddefodd angeu,
Ac yr aeth i lawr i'r bedd:
Cenir iddo,
Wedi'r elo'r byd ar dân. Amen.

## 262 M. C.

1 O! AM dafodau fil mewn hwyl
I seinio, gyda blas,
Ogoniant mawr fy Arglwydd Dduw,
A rhyfeddodau'i ras.

2 Fy ngrasol Arglwydd a fy Nuw
Rho gymhorth, er dy glod,
I ddatgan mawl i'th Enw gwiw
Trwy bob man îs y rhod.

3 Fyddariaid, clywch—chwi fudion rai
Clodforwch Frenhin hedd:
Y dall *a'r cloff fo'n* llawenhau
*Mewn golwg ar* ei wedd.

4 O gwelwch eich pechodau i gyd
Ar Grist, Oen addfwyn Duw!
Ei fywyd rhoes yn aberth drud
Dros bawb o ddynolryw.

5 Genhedloedd byd, trowch ato'n glau,
Addefwch Ef yn Dduw;
Cewch oll yn rhad eich cyfiawnhau
Trwy ffydd yn Iesu gwiw. Amen.

M. S.

## 263

1 CYD-GENWCH, feibion Iacob, glod
I'r sanctaidd Fod anfeidrol;
Cydseiniwch, ferched Seion lân,
Yr hyfryd gân dragwyddol.

2 Gogoniant trwy'r ddaearol lawr,
I'r Arglwydd mawr a'n creodd;
Gogoniant trwy'r uchelder fry,
I'r Iesu cu a'n carodd.

3 Gogoniant fyth i'r Prophwyd hoff,
A'r ffyddlon Archoffeiriad;
Gogoniant fyth i Frenhin hedd,
Gwnaeth ini wledd o gariad.

4 Cyhoeddwn a choronwn Ef
Yn Frenhin nef a daear;
*Amen, Amen, Hosanna'n llon*
*I Geidwad Seion hawddgar.*

# VI.—Yr Iachawdwriaeth:
## EI THREFNIANT A'I CHYFLAWNDER.

---

### 264 M. N. 8. 7. D.

1 FFORDD a drefnwyd cyn bod amser
  I ryddhau o ddrygau'r ddraig;
Mewn addewid gynt yn Eden,
  Fe gyhoeddwyd Had y Wraig:
Ffordd i gyfiawnhau'r annuwiol,
  Ffordd i godi'r marw'n fyw,
Ffordd gyfreithlawn i droseddwr
  I gael hedd a ffafor Duw.

2 Melys gofir y cyfammod
  Draw a wnaed gan DRI yn UN;
Bythol syllir ar y Person
  Gym'rodd arno natur dyn:
Wrth gyflawnu yr ammodau,
  Trist hyd angeu'r enaid oedd;
Dyma gân y saith ugeinmil
  Draw i'r llen â llawen floedd.

3 F'enaid trist, wrth gofio'r frwydr,
  Yn llamu o lawenydd sydd;
Gwel'd y ddeddf yn anrhydeddus,
  A'r pechadur caeth yn rhydd:
Rhoddi'r Bywyd i farwolaeth,
  Claddu'r Adgyfodiad mawr;
*Dwyn i mewn* dragwyddol heddwch
  *Rhwng y* nef a daear lawr. Amen.

O

M. N. 8. 7. D.

[…]AW mi welaf ryfeddodau—
Dyfnion bethau TRI yn UN;
[…]n bod Eden ardd, na chodwm,
Grasol fwriad Duw at ddyn:
[…]thol Meichiau cyn bod dyled,
Trefnu Meddyg cyn bod clwy',
Caru gelyn heb un haeddiant—
Fe gaiff glod tragwyddol mwy.

2 O! dragwyddol iachawdwriaeth,
Yn yr arfaeth gafodd le,
I gyfodi plant marwolaeth
I etifeddiaeth bur y ne';
Cariad bore—mor ddiddechre
Ag yw hanfod TRI yn UN—
Yn cofleidio meibion Adda
Yn yr Alpha mawr ei hun.

3 Iddo boed y mawl diderfyn,
Oddiwrth luoedd nef a llawr,
Am yr iachawdwriaeth rasol
Darddodd in' o'i gariad mawr;
Cyfyd hon i'r lan o'r dyfnder
Dorf ddirif o ddynolryw;
Rhai sy'n haeddu bythol farw,
Trwyddi cânt dragwyddol fyw

M. N. 8. 7. D.

266

[…]AIS fawr tragwyddol ga[…]
[…]wdwriaeth la[…]

Sail cyfammod hedd sydd gadarn,
  Ac nis derfydd byth mo'i ddawn:
Dyma'r man y gorphwys f'enaid,
  Dyma'r man y byddaf byw
Mewn tangnefedd pur, heddychol,
  Yn mhob 'stormydd gyda'm Duw.

2 Syfled iechyd, syfled bywyd,
  Cnawd a chalon yn gytun;
Byth ni syfla ammod heddwch—
  Hen gytundeb Tri yn Un:
Dianwadal yw'r addewid,
  Cadarn byth yw cynghor Duw;
Cysur cryf i'r sawl a gredo'n
  Haeddiant Iesu i gael byw. Amen.

## 267

M. N. 10au.

1 CYFAMMOD hedd, cyfammod cadarn Duw
  Ni syfl o'i le, nid ïe a nage yw;
Cyfammod gwir, ni chyfnewidir chwaith;
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

2 Cyfammod rhad, o drefniad Un yn Dri—
Hen air y llw, a droes yn elw i ni;
Mae'n ddigon cryf i'n codi fyny'n fyw,
Ei rym o hyd yw holl gadernid Duw.

3 Cyfammod cry' pwy ato ddyry ddim?
'Deill byd na bedd mo dori ei ryfedd rym:
*Diysgog yw hen* arfaeth Duw o hyd,
*Nid siglo mae fel* gweinion bethau'r byd.

4 Cyfammod llawn, lle trefnwyd Iawn i'r Iôr
Cyn llunio llawr, un mynydd mawr, na môr;
Er maint eu bai, fe roddir rhyw rai'n rhydd,
A'u dyled yw moliannu Duw bob dydd.
Amen.

# 268 M. N. 10au.

1 CYN llunio'r byd, cyn lledu'r nefoedd wen,
Cyn gosod haul, na lloer, na ser uwch ben,
Fe drefnwyd ffordd, yn nghynghor Tri yn Un,
I achub gwael, golledig, euog ddyn.

2 Trysorwyd gras, ryw annherfynol 'stôr,
Yn Iesu Grist, cyn rhoddi deddf i'r môr;
A rhedeg wnaeth bendithion arfaeth ddrud
Fel afon gref, lifeiriol, dros y byd.

3 I ddynolryw Iachawdwr gwiw a gaed;
Dros lwch y llawr fe roes ei werthfawr waed;
Pob peth a ddaeth trwy'r iachawdwriaeth rhâd—
Gwisg hardd i'r noeth, a chyfoeth, a iachâd.

4 Mae'r udgorn mawr yn seinio'n awr i ni
Ollyngdod llawn, trwy'r Iawn ar Galfari;
Mawl yn mhob iaith, trwy'r ddaear faith a fydd
Am angeu'r groes, a'r gwaed a'n rhoes yn rhydd. Amen.

# 269 M. B.

1 *CYDUNED Seion lân*
*Mewn cân bereiddia'i blas,*

O fawl, am drugareddau'r Ion,
Ei roddion Ef a'i ras.

P'le gwelir cariad fel
Ei ryfedd gariad Ef?
P'le bu cyffelyb iddo erioed?
Rhyfeddod nef y nef!

Fe'n carodd cyn ein bod,
A'i Briod Fab a ro'es,
Yn ol ammodau hen y llw,
I farw ar y groes.

I'r Drindod heb wahân
Rhown fawl ar gân i gyd:
Sain haleluia fo' mhob man,
Trwy bedwar ban y byd. Amen.

570 M. B.

Gras! o'r fath beraidd sain!
I'm clust hyfrydlais yw;
Hwn wna i'r nef bêr seinio byth,
A'r ddaear oll a glyw.

Gras rhad a drefnodd ffordd
I wared euog fyd;
A gras a welir yn mhob rhan
O'r ddyfais hon i gyd.

Gras ddaeth â'm traed yn ol
I lwybrau'r nefoedd lân;
A *chymhorth* newydd bob yr awr
*Im' fyned* yn y blaen.

4 Gras a gorona'r gwaith
Draw mewn anfarwol fyd;
A chaiff y clod a'r moliant byth
Gan luoedd nef yn nghyd. Amen.

## 271 M. N. 7. 6.

1 ER tori'r hen gyfammod
A wnaed rhwng dyn a DUW,
A syrthio i drueni
O bawb o ddynolryw,
Fe gaed cyfammod sicrach
Yn llaw Gwaredwr cryf—
Cyfammod yw a gyfyd
Ryw dyrfa fawr ddirif.

2 Cyfammod hedd a luniwyd
Yn nhragwyddoldeb pell,
Rhwng TAD, a MAB ac YSPRYD—
Nis gall'sai fod yn well:
Cyfammod er achubiaeth
I euog lwch y llawr:
Mae'n gadarn, wedi'i selio
A gwaed Messiah mawr.

3 Cyfammod rhad tragwyddol
Yw dyfais gras y nef;
Nis gall na byd nac uffern
*Byth* ei ddirymu ef:
*Pan ddiffydd* haul a lleuad,
*Pan losgo* daear las,

Fe saif y ddyfais Ddwyfol
Yn gryf gyfammod gras. Amen.

## 272 M. C.

1 CYFAMMOD hedd, O ryfedd ras!
Ein haddas gysur ni;
Cyfammod yw na rwymodd dyn
O drefniad UN yn DRI.

2 Fe'i gwnaed yn nhragwyddoldeb pell,
Digymhell oedd y gwaith;
A'r hyn a wnaed, fe saif er neb,
I dragwyddoldeb maith.

3 Er tynu o bechodau dyn,
Fel gwenwyn, lawer gwae,
Ni thorodd mo gyfammod Duw,
'I anrhydedd yw parhau.

4 Pan elo'r ddaear fawr yn boeth,
Cyfammod doeth ein Duw
A saif o blaid ei weiniaid blant,
Am hyny byddant byw. Amen.

## 273 M. C.

1 RHOWN beraidd fawl i'n HARGLWYDD mawr
Am y cyfammod rhad
A luniwyd yn yr arfaeth bell,
I achub dyn trwy waed.

*2 Cyfammod cryf* tragwyddol yw,
*Rhwng Du*wdod, TRI yn UN,

A drefnwyd cyn rhoi sail i'r nef,
Er iachawdwriaeth dyn.

3 Yn hwn darparwyd Meddyg rhad
I filoedd, cyn bod clwy',
A modd i dalu'n berffaith lawn
Ddyledion fyrdd, a mwy.

4 Yn fore cododd pechod hyll
At ei ddinystriol waith;
Ond gras gychwynodd gynta 'mhell
Ar ei fendithlawn daith. Amen.

## 274 M. B.

1 CAED ffynnon ar y bryn
A ylch yn wyn a glân,
Oddiwrth bechodau mwya'n bod,
Rifedi'r tywod mân.

2 Mae rhinwedd yn y gwaed
I olchi beiau mwy
Nas dichon neb o gôr y nef
Byth, byth eu rhifo hwy.

3 'Does diwedd byth, na thrai,
Ar ffrwythau angeu loes;
Fe genir â thelynau aur
Am rinwedd gwaed y groes.

4 Yr anthem fydd i gyd
O hyd am Galfari,
*A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn*
*Ddaeth un prydnawn i ni.* Amen.

## 275 M. B.

1 MAE'R iachawdwriaeth rad
Yn ddigon i bob rhai;
Agorwyd ffynnon er glanhâd
Pob pechod cas, a bai.

2 Daw tyrfa rif y gwlith
Yn lân, trwy rîn y gwaed;
Pwy wyr na byddaf yn eu plith
Yn iach o'm pen i'm traed.

3 Er lleted yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw;
Y Balm o Gilead a'm hiachâ—
Mae CRIST yn Feddyg gwiw.

4 Dan bwys euogrwydd du
Edrychaf tua'r groes,
Lle llifodd gwaed fy Mhriod cu—
Anfeidrol Iawn a ro'es. Amen.

## 276 M. B.

1 MI welaf afon bur
O ddyfroedd dysglaer iawn:
Mae fel y grisial gloew, clir,
Foreuddydd a phrydnawn.

2 Mae hon yn tarddu maes
O dan orseddfainc Duw;
Hi gàna *fel yr* eira gwyn
*Yr Ethiop* dua'i liw.

;hawdwriaeth rad
;aed trwy waed yr Oen,
ân fy enaid gwan o hyd
ı nghanol byd o boen.

, mil o filoedd maith
ɹr ben eu taith yn llon,
moli'r Oen yn ngwlad yr hedd
Am ryfedd rinwedd hon. Amen.

7 M. N. 7. 6.

MAE CRIST, a'i w'radwyddiadau
A'i groesau o bob rhyw,
Yn ddigon imi farw,
Yn ddigon imi fyw;
Can's yn ei groes mae coron,
Ac yn ei wawd mae bri,
A thrysor yn ei gariad
Sydd fwy na'n dacar ni.

2 Mi welaf yn ei fywyd
Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu'r taliad
A roddwyd drosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf
Drigfanau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol berffa
Gaf yno gydag Ef.

3 *Os Satan*, neu gydwybod,
*Neu lym* gyfiawnder D

A ddadleu echryslondeb
  Y pechod drwg ei ryw—
Mai gwag yw pob creadur
  I wneyd am dano iawn—
Cyhoeddir trwy'r efengyl
  Fod Iesu Grist yn llawn.

4 Mae ynddo nerth diderfyn,
  Doethineb maith a rhad;
Deng miliwn o rinweddau
  A rhagor, sy'n ei waed:
Mae ynddo bob rhyw angen
  Sydd ar bechadur gwan,
Dan filoedd o amheuon
  I godi'i ben i'r lan. Amen.

## 78

M. N. 7. 6.

1 O IACHAWDWRIAETH gadarn
  O iachawdwriaeth glir!
Fu dyfais o'i chyffelyb
  Erioed, ar fôr na thir!
Fe ro'dd ei fywyd drosom,
  Beth all Ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
  Difesur yn ei glwy'.

2 O ras didranc, diderfyn,
  Tragwyddol ei barhâd!
*Yn nghlwyfau*'r Oen fu farw
  *Yn unig*, mae iachâd:

d oddiwrth euogrwydd,
châd • ofnau'r bedd;
nariad wedi'i wreiddio
r sail tragwyddol hedd.

ol edrych ar ol edrych,
O gwmpas imi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
Newyddion yn parhau:
Pan b'wy'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i' mryd—
O iachawdwriaeth rasol!
Rhyfeddol wyt i gyd! Amen.

M. N. 7. 6.

279

1 PA DDUW yn mhlith y duwiau
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi maddeu'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n eri:
Nid byth y deil eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhau,
Er maint ein hannheilyngdod
Ei gariad sy'n parhau.

2 Wel dyma'r Un sy'n maddeu
Pechodau rif y gwlith;
'Does mesur ar ei gariad
Na therfyn iddo byth;
*Mae'n mofyn lle i dosturio,*
*Mae'n* hoffi **trugarhau;**

Tru
S

280
1 (

Trugaredd i'r amddifad
  Sydd ynddo yn parhau. Amen.

## 280 M. N. 6. 8. 4.

1 O! F'ENAID hed i'r lan
  Tros fryniau ucha'r byd,
A gwel dy gyfoeth, gwel dy ran
  Anfeidrol ddrud:
Trysorau o Ddwyfol fri,
  Bwrcaswyd imi'n llawn
Gan fy Ngwaredwr addfwyn, cu,
  Ar un prydnawn.

2 Mae angeu'r groes yn fwy
  Na haeddiant yr holl fyd;
Y mae gruddfanau Dwyfol glwy'
  Yn gyfoeth drud:
Fe gènir myrdd yn wyn
  Oll, fel yr eira mân;
Ceir gwel'd rhai ffiaidd ar ol hyn
  Yn berffaith lân.

3 Anturiaf finau mwy,
  Er cymmaint yw fy mai,
Trwy'r haeddiant Dwyfol sy'n ei glwy',
  Heb lwfrhau;
O flaen yr orsedd wen,
  Ffieiddiaf ddyn o'r blaen.
*Gan gredu* gall Tywysog nen
  *Fy* ngwneyd yn lân. Amen.

## 281

M. C.

1 MAE'R iachawdwriaeth rad mor fawr
Mai'n achub, mai'n glanhau
Troseddwyr duaf daear lawr:
Gwnawn ynddi lawenhau.

2 Cael derbyn o'i chyflawnder cun
A wna y trist yn llon;
Gogoniant Duw, dedwyddwch dyn,
Sydd yn gytun yn hon.

3 Mae Iesu Grist yn drysor mwy
Na holl drysorau'r byd;
Daeth hedd a bywyd ini trwy
Ei angeu gwerthfawr drud.

4 Cyflawnder nerth, cyflawnder gras,
Cyflawnder nef y nef,
Uwch deall seraphim a saint,
Sy'n trigo ynddo Ef. Amen.

## 282

M. C.

1 MAE ffynnon hyfryd, lawn o waed,
A redodd ar y bryn;
Y pechaduriaid duaf gaed
A olchir ynddi'n wyn.

2 Ffynnon yw hon sydd yn glanhau
Budreddi brwnt yn lân;
*Yn hyfryd* olchi'r ffiaidd cas,
*A'i gànu* fel y gwlan.

3 Bu'r lleidr aflan, un prydnawn,
Yn edrych arni'n llon;
A ninau olchir, sydd yn llawn
Mor frwnt ag ef, yn hon.

4 Anwylaf Oen, dy werthfawr waed
Ni chyll ei rinwedd mwy,
Nes delo'r olaf ynot gred
Yn iach, heb boen na chlwy'. Amen.

## 83 M. S.

1 MWY llawn o ras na'r môr o ddwr
Yw Noddwr pechaduriaid:
Ffynhonell y gwirionedd yw,
Yn ddyn a Duw bendigaid.

2 O'i ystlys bur yn rhedeg lawr
Yn afon fawr lifeiriol,
Hedd a maddeuant sy'n ddidrai,
Fyth i barhau'n dragwyddol.

3 Rhaid imi gael pob gras, pob dawn
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni chaf, fy enaid prudd
A gyll y dydd yn fuan.

4 Yr Aberth mawr fu ar y groes,
A'r Iawn a ro'es yr Iesu,
*Yw'm hunig* obaith yn mhob man,
*Daw'm* henaid gwan i fyny. Amen.

## 4 M. S.

CLODFORAF Enw Brenhin nef,
Mae ynddo Ef bob digon;
Digon o nerth i'm henaid gwan,
Pan fyddwyf dan drallodion.

2 Mae digon o drugaredd hael
I'r truan gwael ei gyflwr;
Digon i lenwi iawnder Duw,
A chadw'n fyw droseddwr!

3 Mae digon o lawenydd pur,
A chysur mewn achosion;
Digon o iechyd rhag pob cur,
Pob clwyf a dolur calon.

4 Digon o rinwedd yn parhau
I lwyr lanhau halogrwydd:
A digon o ogoniant maith
I'm gwneyd yn berffaith ddedwydd.
Amen.

## 285 M. C.

1 AGORWYD ffynnon i'n glanhau
Gan Iesu, Brenhin nef;
A'i ffrydiau olcha ffwrdd ein bai
Trwy rym ei gariad Ef.

2 Llawenydd sydd i ddynolryw
*O herwydd* agor hon;
*Mae lle i minau* lawenhau,
*Fod imi groesaw* llon.

3 Mae llais y nef yn galw'n awr
Drueiniaid, fawr a mân,
I ddyfod iddi ar y llawr,
I'w golchi oll yn lân.

4 Rwy'n d'od 'rwy'n d'od fy ARGLWYDD DDUW,
I'mofyn am y gwaed:
O golch yn lân y dua'i liw
Sy'n dysgwyl wrth dy draed. Amen.

## 286 M. C.

1 MAE'R iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

2 'Does yma eisiau byth yn bod,
O fore hyd brydnawn;
Er maint yr yfed a'r glanhau,
Trysorau gras sy'n llawn.

3 Mae yma drugareddau rhad
I'r tlawd a'r llariaidd rai:
A rhyw fendithion maith yn 'stor
Sy fythol yn parhau. Amen.

## 287 M. C.

1 AWN, bechaduriaid, at y dwr
A darddodd ar y bryn;
Ac ni *gawn* ddrachtio fyth, heb drai
*O'r ffrydiau* gloew hyn.

2 O! Ffynnon trugareddau maith?
Diderfyn yw dy ras,
I roi trysorau pena'r nef
I'r tlotaf un i maes.

3 Tra caffwyf yfed ar fy nhaith
O'r ffynnon loew glir,
Nid ofnaf ronyn, er eu grym,
O ddrygau'r anial dir.

4 Hyd yma ni ddych'mygodd dyn
Dan entrych awyr las,
Y fath ddyfnderoedd hyfryd sydd
Mewn gwaredigol ras. Amen.

## 288 M. N. 6. 6. 8.

1 AGORWYD ar y bryn,
Ryw ffynnon rad cyn hyn,
A'n gylch yn wyn o'n pen i'n traed;
Mae'n golchi'r dua 'i liw,
Mor wyn a'r eira gwiw,
Rhinweddol yw y Dwyfol waed!

2 O iachawdwriaeth fawr!
A lifodd ini i lawr,
Yn ffrydiau pur grisialaidd byw:
Maddeuant ini gaed,
A heddwch yn y gwaed,
O gariad rhad ein Tad a'n Duw.

*3 Am iachawdwriaeth lawn,*
*Foreuddydd a phrydnawn,*

Moliannu gawn yr Iesu gwiw;
Dyoddefodd angeu loes,
Yn ddiddig ar y groes,
A'i ddoniau roes i ddynolryw.

4 Yn Nghrist a'i werthfawr waed,
Mae llawn faddeuant rhad,
A gwir iachâd o bob rhyw glwy';
Am aberth pur y groes,
Ac ing ei Ddwyfol loes,
A'r Iawn a roes, cân f'enaid mwy. A

## 289 M. B.

1 FY enaid gofia mwy
Gyfiawnder Iesu gwiw;
Ei waed sy ffynnon a'm glanhâ,
Fe'm golcha'n wyn fy lliw.

2 Ei fywyd sänctaidd Ef,
A'i angeu yn fy lle,
A fydd fy ymffrost yn mhob man,
A'm sylfaen îs y ne'.

3 A'i Ddwyfol waed gwnaeth Iawn,
A thaliad llawn i'w Dad;
Agorodd ffordd i'r euog gwael
I gael maddeuant rhad.

4 Trwy aberth mawr y groes,
Trwy angeu Calfari,
Y cafwyd cymmod a rhyddhâd
Yn rhyfedd rad i ni. Amen.

## 290 M. B.

1 YN Enw'r Oen a'i ras,
Er pechod cas ei ryw,
Mae modd i'r enaid gwan a ffol
O'i gyflwr marwol fyw.

2 Er llygredd, briw, a brath
Y damnedigaeth ddu,
Daeth iachawdwriaeth ini, do,
Trwy gredu Iesu cu.

3 O iachawdwriaeth wiw!
Ti yw fy nghân i gyd:
Rhinweddau nefol hyfryd lon
A'm deil mewn dyrys fyd.

4 Mae yma gysur llawn
I'r rhai'n lluddedig sy,
Yn teithio trwy'r anialwch blin
I Seion sanctaidd fry. Amen.

## 291 M. N. 6. 4.

RHAN I.

1 DAETH ffrydiau melys iawn
Yn llawn fel lli',
O ffrwyth yr arfaeth fawr
Yn awr i ni:
Hen iachawdwriaeth glir
Aeth dros y crindir cras;
*Bendithion* ammod hedd;
*O ryfedd* ras!

2 Fe gymerth Iesu pur
Ein natur ni;
Ennillodd Ef i'w saint
Bob braint a bri;
Gadawai'r nef o'i fodd,
Fe gym'rodd agwedd gwas;
Ffrwyth y cyfammod hedd:
O ryfedd ras!

3 Fe gymerth Iesu blaid
Trueiniaid trist;
Ysigodd ben y ddraig:
Ein Craig yw Crist:
Cawn ninau fod yn bur,
Uwch cur a phechod cas,
Yn berffaith ar ei wedd:
O ryfedd ras! Amen.

RHAN II.

1 BOED clod i'n Prynwr rhad,
Ein Ceidwad cu;
Fe dorodd rym yr hen
Iorddonen ddu:
Gorchfygodd angeu cryf,
Er awch ei gleddyf glas,
A drylliodd rwymau'r bedd:
O ryfedd ras!

2 Crist yw ein cadarn Dwr,
Gwaredwr yw;
*Dan gysgod tawel hwn*
*Y byddwn byw;*

Fe arwain ei holl saint,
Er cymmaint llid eu cas,
I mewn i'r nefol wledd:
O ryfedd ras!

3 Wrth orphwys ar yr Iawn,
Ni gawn i gyd
Felysion ffrwythau'r groes,
Drwy'n hoes o hyd:
Mae yma hyfryd win
I flin, o beraidd flas;
Maddeuant pur a hedd:
O ryfedd ras!

4 Caed balm o archoll ddofn
Y bicell fain;
Yn rawnwin ar y groes
Fe droes y drain:
Dechreuwn fawl cyn hir
Na flinir ar ei flas,
Am Iesu 'r aberth hedd:
O ryfedd ras! Amen.

## 292 M. N. 8. 7. D.

1 RHWYGA'R tew gymylau duon
Guddiant wedd dy wyneb gwiw;
Nid oes bleser a'm dyddana,
*Ond* yn unig Ti, fy Nuw:
*Môr didrai* o bob trugaredd,
*Yw dy* iachawdwriaeth lawn,

Lifodd allan mewn bendithion
Ar Galfaria un prydnawn.

2 Ffrydiau tawel, byw, rhedegog,
O dan riniog tŷ fy Nuw,
Sydd yn llanw ac yn llifo
O fendithion o bob rhyw:
Dyfroedd gloew fel y grisial
I olchi'r euog, nerthu'r gwan;
Ac a gàna'r Ethiop duaf
Fel yr eira yn y man.

3 O! am yfed yma beunydd
O ffrydiau'r iachawdwriaeth fawr,
Nes fy nghwbl ddisychedu
Am wywedig bethau'r llawr;
Byw dan ddysgwyl am fy Arglwydd,
Bod, pan ddelo, 'n effro iawn,
I agoryd iddo'n ebrwydd,
A mwynhau ei ddelw'n llawn. Amen.

## 93 M. N. 8. 7. D.

1 NID oes ffynnon wedi i' hagor
A all olchi'r euog hyn,
Ond y ffynnon a agorodd
Cariad, ar Galfaria fryn:
Gwaed a all ddileu y beiau,
Gwaed a egyr borth y nef;
*Nid oes a foddlona'r* nefoedd
*Ond ei haeddiant* Dwyfol Ef.

2 Yma rhed yr afon allan
Ffrydiau ar ol ffrydiau o hyd:
Gloew ddwr, didrai, digymmysg,
Sydd yn golchi beiau'r byd:
Dacw'r ffynnon yn agored,
Dyma'r brwnt yn myn'd yn mlaen,
Dyma'r euog, dyma'r aflan
Wedi'i gànu fel y gwlan.

3 Golchwyd Magdalen yn ddysglaer,
A Manasseh 'n hyfryd wyn,
Yn y dwr a'r gwaed a lifodd
O ystlys Iesu ar y bryn:
Pwy a wyr na olchir finau?
Pwy a wyr na chaf fi fyw?
Mae rhyw drysor anchwiliadwy
O ras yn nghadw gyda'm Duw. Ame

## 294 M. N. 6. 8.

1 FY Iesu yw fy Nuw,
Fy noddfa gadarn gref;
Ni fedd fy enaid gwan
Ddim arall dan y nef:
Mae Ef ei Hun, a'i angeu drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd.

2 Bendithion heb ddim rhif,
Cysuron maith didrai,
Sy'n tarddu o honot Ti
Fy Nuw, er maint fy mai:

Nis gallaf byth ddymuno mwy
Na'r trysor sydd mewn marwol glwy'.

3 Rhyw ffynnon fawr ei rhîn,
A nefol win a llaeth,
Gaed yn ei angeu Ef—
Agoryd nef a wnaeth;
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nef yn awr,
Trwy haeddiant Aberth Iesu mawr.

4 O de'wch i'r dyfroedd, de'wch,
Drueiniaid gwael, dinerth,
A phrynwch win a llaeth
Heb arian ac heb werth:
Mae yma fodd i'ch cyfiawnhau,
A'ch puro'n lân oddiwrth eich bai. Amen.

## 95 M. N. 6. 8.

1 EIN Harchoffeiriad mawr,
Emmanuel ei hun,
Ei fywyd roes i lawr
Dros euog aflan ddyn:
Anfeidrol werth ei aberth Ef
Foddlonai holl ofynion nef.

2 Cyfiawnder gafodd Iawn,
A'r ddeddf fawrhâd a bri,
A'r euog ryddid llawn,
Trwy angeu Calfari:
*Caed digon* Duw a digon dyn
*Yn haeddiant* Iesu mawr ei hun.

8 Yn awr cyhoeddir hedd
I gyrau pella'r byd;
Gwahoddir pawb i'r wledd
Gaed trwy ei angeu drud:
Mae'r bwrdd yn llawn danteithion bras
Ddarparodd Duw o'i ryfedd ras. Amen.

M. N. 8. 8. 6.

## 296

1 O! F'ENAID, gwel ar Galfari,
Tan bwys dy loes, a'th groes, clyw gr
Tywysog mawr y nen;
A hoelion trwy ei ddwylaw a'i draed—
Gorchfygodd uffern yn ei waed;
O! f'enaid cwyd dy ben.

2 Dŷg iachawdwriaeth fawr trwy hyn—
Er gorwedd yn y carchar tyn—
A hedd i'r euog rai;
Cyfiawnder, bywyd, a rhyddhâd,
A thrwy ei gleisiau ef, iachâd,
A maddeu pob rhyw fai.

3 O f'enaid, nac annghofia mwy
Fod meddyginiaeth i dy glwy':
Cân am Galfaria fryn:
Dim damnedigaeth mwy nid oes
I'r hwn a gred yn angeu'r groes;
Mi ganaf byth am hyn. Am

M. N. 8. 7. 4.

## 297

1 IESU, nid oes terfyn arnat,
Mae cyfiawnder mawr dy

Yn fwy helaeth, yn fwy dwfwn
Ganwaith, nag yw 'mhechod cas:
Fyth yn anwyl
Meibion dynion mwy a'th gâr.

2 Y mae rhinwedd gras y nefoedd
O dragwyddol faith barhâd;
Nid oes diwedd byth ar effaith
Perffaith haeddiant Dwyfol waed:
Ac er golchi,
Dysglaer fydd yr afon byth.

3 Minau ddof i'r ffynnon loew
Darddodd allan ar y bryn;
Ac mi olcha'm henaid euog
Ganwaith yn y dyfroedd hyn:
Myrdd o feiau
Daflaf lawr i rym y dwr. Amen.

## 298 M. H.

1 O'R iachawdwriaeth fawr yn NGHRIST!
Swn melys hyfryd yw i'm clust;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chordial im' rhag ofnau yw.

2 Mae hon yn iachawdwriaeth lawn,
Gwellhâd ysprydol ynddi cawn;
Yr iachawdwriaeth helaeth hon
Sy'n llwyr iachau holl friwiau'r fron.

3 Mewn *bedd o be*chod gorwedd bu
*Ein henaid* wrth ddrws uffern ddu;

Ond codi'r ŷm, trwy ras ein Duw,
I weled nefol ddydd a byw.

4 Aed swn yr iachawdwriaeth fawr
O amgylch ogylch daear lawr;
A boed i'r nef a'i lluoedd llon
Gyfodi ei llef i seinio hon. Amen.

## 299 M. H.

1 MAE iachawdwriaeth berffaith fawr
I'r gwaelaf rai o lwch y llawr;
Cân saint di-rif mewn nefol nyth
Am dani, oesoedd rif y gwlith.

2 O, dyma'r afon sy'n glanhau,
A'r ffynnon hyfryd sy'n iachau,
A'r môr sy'n golchi'n hyfryd lân
Rai dua'u lliw, fel eira mân.

3 A thyma'r Balm, yn Gilead mae,
Sy'n gwella'r archolledig rai;
Physygwr mwyn i'm gwella daw;
'Does neb yn marw dan ei law.

4 Iachâ fy nghlwyf, aflanaf ddyn,
'R wy'n methu'n deg a gwella'm hun:
Os caf iachâd, cei dithau'r clod,
Tra'r nefoedd wen a'r ddae'r mewn bod.
Amen.

## 300 M. H.

1 *WRTH droi fy ngolwg yma i lawr*
*I gyrau'r greadigaeth fawr,*

Gwrthddrych ni wel fy enaid gwan,
Ond Iesu i bwyso arno'n rhan.

Dyma gyfarfod hyfryd iawn—
Myfi yn llwm a'r Iesu'n llawn;
Myfi yn dlawd, heb feddu dim,
Ac Yntau'n rhoddi pob peth im'.

Anturia 'nghalon euog, ddu,
At orsedd gras yn awr yn hy';
Mae'r fainc yn rhydd, a'r rhodd yn rhad,
I'r sawl a gredo yn ei waed.

Mae gras, yn rhyw anfeidrol 'stôr,
A doniau ynot fel y môr;
O! gad i'r truenusaf ddyn
Gael profi gronyn bach o'u rhîn. Amen.

---

# II.—Yr Efengyl: ei Galwad.

---

01 M. N. 6. 8.

UDGENWCH weision Duw,
Yr udgorn arian mawr,
A chlywed dynolryw
Dros wyneb daear lawr;
Blwyddyn y Iubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

*Trowch, bechaduriaid trist,*
*Wrth lais efengyl fwyn*

O'ch cyflwr caeth at Grist—
Efe a wrendy'ch cwyn:
Blwyddyn y Iubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

3 Cymerwch feddiant rhad
O'ch etifeddiaeth fawr:
O! dewch i dŷ eich Tad
Gan lawenychu'n awr:
Blwyddyn y Iubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

4 Dadseinied gras ein Duw
Trwy holl derfynau'r byd,
A doed ei deyrnas wiw
Dros gyrau hwn i gyd:
Daeth blwyddyn fawr y Iubili,
Clodfored pawb ein Harglwydd ni. A

## 302 M. N. 6. 8.

1 DEWCH, hen ac ieuainc, dewch
At Iesu, mae'n llawn bryd;
Rhyfedd amynedd Duw
Ddysgwyliodd wrthym cy'd!
Aeth yn brydnawn, mae yn hwyrhau,
Ond drws trugaredd sydd heb gau.

2 Dewch bechaduriaid mawr
Ffieiddiaf sy'n y byd;
*Trugaredd* sydd gan Dduw,
*Er ichwi oedi* cy'd:

Ni chofia Ef eich ffiaidd fai,
Gall gwaed y groes eich llwyr lanhau.

Dewch, hen wrthgilwyr trist,
At Iesu Grist yn ol;
Mae'i freichiau'n awr ar led—
Fe'ch derbyn yn ei gôl:
Mae Duw yn rhoddi eto'n hael
Drugaredd i droseddwyr gwael. Amen.

303 M. N. 8. 7. 3.

DEUWCH, hil syrthiedig Adda,
Daeth y Iubil fawr o hedd;
Galwad sydd ar bawb o'r enw
I fwynhau tragwyddol wledd:
Bwrdd yn llawn yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

Dyma wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhad;
Yma chwi gewch brofi cariad,
Hedd yn nofio yn y gwaed:
Dewch yn awr dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr.

Deuwch ddeillion, deuwch gloffion,
Deuwch wywedigion rai;
Ymadewch â'r hyn ag oeddych
Yn cael pleser i'w fwynhau:
Chwi gewch *win nefol* rîn
*Fyth i'w yfed yn* ddi-brin. Amen.

## 304 M. N. 8. 7. 3.

1 MAE'R efengyl wen yn curo,
Ac yn codi baner gras,
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar y mynydd ar y maes;
Y mae llef bur y nef
Yn cyhoeddi'i haeddiant Ef.

2 Y mae gwleddoedd y briodas
Heddyw'n barod, dewch yn mlaen;
Y Priodfab sydd mewn hiraeth
Am ei briodasferch lan:
Dewch i'r wledd, dyma hedd,
Gwyd y meirw i'r lan o'r bedd.

3 Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt
Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Llian main ydyw rhain
Sydd yn cuddio pob rhyw 'stain. Amen.

## 305 M. S.

1 O! DEWCH i'r dyfroedd, dyma'r dydd,
Yr ARGLWYDD sydd yn galw;
Tragwyddol ras yr ARGLWYDD IÔR
Sydd fel y môr yn llanw.

2 Heb werth nac arian, dewch yn awr,
Mae golud mawr trugaredd
*A'i wyneb* ar yr euog rai—
*Madd*euant a'i ymgeledd.

! dewch, a phrynwch win a llaeth,
Mae yma faeth rhagorol;
ewch loew win heb aur na gwerth,
Mae ynddo nerth tragwyddol.

wytewch—mae'r Aberth wedi'i ladd,
Y ddeddf a ga'dd anrhydedd;
c i bechadur euog, gwael,
Mae modd i gael ymgeledd.

ae'r wledd yn barod, O! bwytewch,
A llawenhewch yn Seion;
ragwyddol hedd i blant y llwch—
O yfwch ei melysion. Amen.

6 M. S.

RIST ydyw'r Balm o Gilead, clyw,
Sy'n gwella briw ei bobol;
awb sydd tan law y Meddyg rhad
Gânt wir iachâd tragwyddol.

a'm byddwch feirw, gleifion gwael,
A Balm i'w gael yn Gilead?
Meddyg gwiw—Car dynolryw?
Anfeidrol yw ei gariad!

dewch, dylodion gwael, fel 'r ŷch,
Heb genych ddim i dalu:
a thybiwch ddim y cewch nacâd,
Can's Meddyg rhad yw'r Iesu.

ob *un blinderog*, trist ei wedd,
*Sydd mewn* anhedd a phrudd-der,

Trwy dderbyn Iesu 'n Geidwad hael,
Bydd iddo gael esmwythder. Amen.

## 307 M. H.

1 LLEFWCH, genhadon, Duw o hyd,
O! wele waed Iachawdwr byd;
Cymhellwch bawb dd'od ato 'Fe—
Mae'r Iesu 'n d'weyd fod eto le.

2 Chwi rai newynog tlawd, nesewch,
O amgylch bwrdd Messiah dewch;
Gwrandewch ei lais a'i alwad E'—
Mae'r Iesu 'n d'weyd fod eto le.

3 Brysiwch, eneidiau gwael eich gwedd,
Hwn ydyw dydd efengyl hedd:
Pob peth a'ch geilw ato 'Fe—
Mae'r Iesu 'n d'weyd fod eto le.

Pwy bynag gredo yn Mab Duw,
Yr enaid hwnw byth fydd byw;
Caiff ernes 'n awr o deyrnas ne'—
I bawb a ddel mae eto le. Amen.

## 308 M. N. 8. 7. 4.

1 DEUWCH, bechaduriaid tlodion,
Clwyfus, cleifion o bob rhyw,
Crist sydd barod i'ch gwaredu—
*Llawn* tosturi yw Mab Duw:
*Nac* amheuwch,
*Abl* ac ewyllysgar yw.

2 Rai anghenus, dewch a chroesaw
I gael rhoddion Duw yn rhad;
Cewch faddeuant a thangnefedd,
A phob gras yn ddinacad:
Dewch heb arian,
Prynwch berlau'r nefol wlad.

3 Dewch flinderog a thrwmlwythog,
Trwy y cwymp ga'dd farwol friw;
Dewch at Iesu tra mae'n galw,
Ganddo cewch orphwysfa wiw:
Pechaduriaid,
Nid rhai cyfiawn eilw Duw. Amen.

## 09 M. N. 8. 7. 4.

1 O! BECHADUR difraw deffro,
Gwrando lais efengyl hedd,
Rhag i Dduw yn ei ddigofaint,
Droi i'th erbyn fin ei gledd:
Am dy fywyd
Dianc at y Ceidwad mawr.

2 Beth dal treulio'r oes i wrando
Am oludoedd Dwyfol ras,
Beth dal clywed am y gwleddoedd,
Heb archwaethu dim o'u blas:
Hen wrandawyr,
Peidiwch oedi, dewch yn nes.

3 Y *mae'r Swper mawr* yn barod,
*Y mae bwrdd efengyl* Duw

'Nawr yn llawn o bob danteithion—
Rhoddion rhad i ddynolryw:
Haleluia,
Caned teulu'r newyn mawr. Amen.

## 310

M. N. 7. 6.

1 FE dorodd Iesu 'r muriau,
A'r cedyrn ddorau pres
Oedd rhyngom ni a'r bywyd,—
Mae'r gwynfyd heddyw'n nes;
Fforddd newydd a agorwyd,
Mae'r pyrth o led y pen,
O ymyl dinas dystryw,
I entrych nefoedd wen.

2 Doed tlodion ac efryddion,
A gwywedigion oll,
F'eu gwneir trwy Grist yn agos,
'Does achos bod ar goll:
Mae Salem heb ei llenwi,
Mae ynddi le o hyd
I bob rhyw iaith a phobl
O bedwar cwr y byd.

3 O ddynion, dowch at Iesu
Heb oedi dim yn hwy,
Na chloffi rhwng dau feddwl,
Na cheisio esgus mwy;
*Os aros* wnewch i wella,
*Aroswch* yn rhy hir,

Aiff tymhor achub heibio,
  A chwithau heb y gwir. Amen.

## 311 M. N. 7. 6.

1 ENEIDIAU sy'n flinedig,
  Dewch at y Meddyg mawr,
A theflwch, yn wirfoddol,
  Elynol arfau i lawr;
Nesaed y rhai afradlon
  At ffyddlon dirion DAD,
Er cymmaint eu trueni,
  Mae'n rhoddi nawdd yn rhad.

2 Dewch bechaduriaid euog,
  At wir Eneiniog nef;
Ystyriwch oll yn ddyfal
  Faint yw ei ofal Ef;
Mae'n rhoi maddeuant rhyfedd
  Am gamwedd mwyaf gaed;
Mae'n golchi rhai euogion
  Yn wynion yn ei waed.

3 Trugaredd yw ei natur,
  A'i enw Cariad yw;
Tosturiol yw'n wastadol
  Wrth bawb o ddynolryw;
Mae'n hoffi gwel'd pechadur
  Yn troi *o'r llwybr* trist,
*Gan dd'od i ddilyn* beunydd
  *Yr* ARGLWYDD IESU GRIST. Amen.

## 312

M. N. 6. 5.

1 ARLWYODD Dwyfol ras
Ar fynydd Seion,
Ryw wledd ddanteithiol, fras,
O basgedigion;
Puredig loew win
O annghymharol rîn,
Adfywia'r enaid blin,
Bywhâ farwolion.

2 Mae'r udgorn auraidd mawr
Yn seinio'n llafar,
I'r wledd mae'n galw 'nawr
Efengyl hawddgar;
Gwasgared gwynt y nef
Ei adsain ddwyfol ef,
Nes b'o i'w hyfryd lef
Amgylchu'r ddaear.

3 Mae'r aberth wedi 'i ladd,
Pob peth sydd barod;
Llawn groesaw i bob gradd
Yn awr i ddyfod:
Caiff cleifion wir iachâd,
Rhai aflan wir lanhâd,
A'r euog gyfiawnhâd
Yn ngwaed y Cymmod. Amen.

## 313

M. N. 8. 7. D.

1 *DEWCH* at IESU, bechaduriaid,
*Mawr* yw'r niweid sydd o'ch blaen;

Ffordd echryslon 'r ŷch chwi'n deithio,
  Diwedd hono sy'n y tân:
Trowch eich wyneb tua'r noddfa,
  Dyma dawel fan i fyw,
Man heb ryfel, ni raid 'madael—
  Trigfa ddyogel gyda Duw.

2 Dewch, blant bychain, gwych eich gweled,
  Ar y drydedd awr o'r dydd;
Dewch, ieuenctyd ar y chweched,
  Uchel alwad arnoch sydd;
Dewch rai eraill ar y nawfed,
  Cyn yr elo hi'n brydnawn;
Dewch, hen bobol, cyn' ddeuddegfed—
  Hi aeth yn ddiweddar iawn. Amen.

## 314 M. N. 8. 7. D.

1 BETH yw'r udgorn glywa'i 'n seinio?
  Brenhin Seiloh sydd yn gwa'dd:
Pwy sy'n cael eu galw ganddo?
  Pechaduriaid o bob gradd:
Adre, adre, blant afradlon,
  Gadewch gibau gweigion ffol;
Clywaf lais y Brenhin heddyw'n
  Para i alw ar eich hol.

2 Bechaduriaid o bob enw
  Dan y nefoedd fawr i gyd;
*Crist yw'r Un sy'n* maddeu beiau,
  *Crist yw'r noddfa* rhag y llid:

Trowch at Iesu, O! nac oedwch,
  Ffowch i'w gysgod heddyw'n glau,
Rhag bydd fory 'n rhy ddiweddar,
  A drws gobaith wedi 'i gau. Amen.

# VIII.—Yr Eglwys.

## 315 M. C. D.

1 FE welir Seion fel y wawr,
    Er salwed yw ei gwedd,
  Yn d'od i'r lan o'r cystudd mawr,
    'N ol agor pyrth y bedd:
  Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
    Yn ddysglaer fel yr haul,
  Yn y cyfiawnder Dwyfol, pur,
    A gaed trwy Adda'r ail.

2 Aed mawl a gweddi'r saint i'r lan,
    Fel per aberthau byw;
  A boed serchiadau Seion wan
    Ar dân yn moli Duw:
  Mewn gemwaith aur bydd hon cyn hir,
    Heb dristwch, cur, na phoen,
  Yn canu am goncwest fawr a gaed
    Trwy werthfawr waed yr Oen.

3 *Yn awr i'r* Tad, mewn cariad cu,
    *Yr hardd* gyflwynir hon,

Heb arni un brycheuyn du,
Yn briodasferch lon:
Dadseinia'r holl ehangder fry
Gan ryw soniarus lef,
Pan fyddys yn ei harwain hi
I mewn i lŷs y nef. Amen.

6 M. N. 6. 8.

CRIST yw ein Congl-faen,
Cyd-bwyswn arno Ef,
A dyrchwn, fawr a mân,
Ei fawl hyd entrych nef:
Ein gobaith yw am bob rhyw ddawn,
Gras a gogoniant ynddo gawn.

Awn i'w gynteddau'n llon,
I'w foli âg un llef;
Dadseiniwn oll o'r bron
Ei ras a'i gariad Ef:
I'w Enw mawr boed clodydd cu,
'R Hwn sydd, a ddaw, a'r Hwn a fu.

Cyfraned Ef yn awr
Ei ras o'r nef i ni
I'w garu ar y llawr,
A'i geisio yn ei Dŷ:
A chawn ar fyr ei foli fry,
Ac uno'n llais â'r nefol lu. Amen.

7 M. N. 6. 8.

*UN ydyw'r Eglwys* oll
*Trwy'r byd* a'r nefoedd wen;

A gwelir hi'n ddigoll
  Ar ddelw CRIST, ei Phen:
Hardd iawn fydd gwedd y dyrfa fawr,
Pan ddelo'r saint o lwch y llawr.

2 Un corph, un YSPRYD sydd,
  Un ARGLWYDD i'r holl saint,
Un bedydd ac un ffydd,
  Un gobaith, er pob haint:
Er bod yn fynych yma'n drist,
Cânt gyd-deyrnasu gyda CHRIST.

3 Dadseiniant byth trwy'r nef
  Rinweddau angeu loes;
Cydganant "Iddo Ef,"
  Heb neb yn tynu'n groes;
Bydd pawb o'r brodyr yno'n un
Yn moli'r Duwdod yn y dyn

4 O boed i'th YSPRYD, IOR,
  Ein selio hyd y dydd
Daw'r saint o dir a môr
  A'u rhwymau oll yn rhydd:
Cawn yna ganu gyda hwy
Dragwyddol glod am farwol glwy'. An

## 318 M. S.

1 DY babell Di mor hyfryd yw,
  O ARGLWYDD DDUW y lluoedd!
*Mynych chwennychais weled hon,*
  *Gan mor dra-thirion ydoedd.*

2 Gwyn fyd a drigant yn dy Dŷ,
Cânt dy foliannu ddigon;
A Thi dy Hun sy'n cadarnhau
Dy lwybrau yn eu calon.

3 Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth.
Nes cael yn brydferth ddyfod
I 'mddangos i Dduw ger ei fron
Yn Seion ei breswylfod.

4 Gwell yw na mil un dydd i'th Dŷ,
Am hyny mwy dewisol
Im' fod ar riniog y drws tau,
Na phlasau yr annuwiol.

5 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr
Anfon i lawr dy gymmod;
Dedwydd yw'r dyn a roddo'i gred,
A'i holl ymddiried ynod. Amen.

## 19 M. S.

1 DROS Seion mi weddïaf byth,
Am iddi'n ddilyth ffynu;
Can's yno mae fy mrodyr gwiw,
A'm Prynwr byw'n teyrnasu.

2 O fewn ei llysoedd heddwch boed,
Llawenydd doed i'w llenwi;
Cyfiawnder, cariad, gwir, a nerth,
I'w lys fo'n prydferth weini.

*3 I'w llysoedd hi,* â mawl a chân,
*Daw'r lluoedd* glân siriolwedd:

Mab Dafydd, ar ei orsedd lon,
  Mewn barn ar hon sy'n eistedd.

4 Clodforwn a choronwn Ef
  Yn Frenhin nef a daear:
Amen! Amen! hosanna'n llon
  I Lywydd Seion hawddgar. Amen.

## 320

M. H.

1 DUW, tyr'd â'th saint o dan y ne',
  O eitha'r dwyrain bell i'r de,
I fod mewn cariad pur yn un
Yn ddedwydd ynot Ti dy Hun.

2 Cydfyn'd o hyd dan ganu 'mlaen,
Cyd-ddyoddef yn y dwr a'r tân,
Cydgario'r groes, cydlawenhau,
A chydgystuddio dan bob gwae.

3 Un llais, un swn, un Enw pur,
O'r deheu fo i'r gogledd dir,
O fôr i fôr, o gylch y byd—
Sef Enw Iesu mawr o hyd.

4 Darfydded son yn mhob rhyw fan
Am ddoniau cryf a doniau gwan:
Darfydded enwau pob rhyw ddyn,—
Aed oll yn ddim ond Ti dy Hun.

5 Amen! Amen! boed môr a thir,
*Mewn* perffaith hedd, mewn cariad gwir,
*Heb* ganddynt bleser o un rhyw
*Ond* caru'n Iesu mawr a'n Duw. Amen.

## 21

M. N. 8. 8. 6.

1 O PWY yw hon sy'n dod yn hy',
Yn lew i'r lan, fel rhwng dau lu,
O'r dywell Aiphtaidd wlad,
Gan roddi pwys ei henaid pur
Ar Iesu gwiw, 'r Messiah gwir,
Ei Ffrind a'i Phrynwr rhad?

2 Fe welir hon fel bore wawr,
Yn mhlith myrddiynau uwch y llawr,
Pan ddel i'r lan o'r bedd;
Fel haul, heb un brycheuyn du,
'N ofnadwy, fel banerog lu:
Mor hyfryd fydd ei gwedd!

3 Daw hon i'r lan o'r man lle'r aeth
I'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth—
Yr etifeddiaeth fras:
Yn llawn o hedd bydd hon mewn hwyl,
Ar nefol gainc yn cadw gŵyl
I'r Oen, am Ddwyfol ras! Amen.

## 22

M. C.

CYDUNED seintiau daear lawr
A thyrfa fawr y nef,
I ganu clodydd Iesu mawr;
Un ydynt ynddo Ef.

Un teulu dedwydd sydd gan Dduw,
*Un Eglwys fyw sy'n* bod;

Mae rhan o fewn y nefol lŷs,
Rhan arall îs y rhod.

3 Un fyddin enwog ydynt oll,
O dan awdurdod Ior:
Aeth adre fyrdd trwy'r dyfroedd maith,
'Rŷm ni ar lan y môr!

4 Ehedeg i'r anfarwol fyd
Mae miloedd bob rhyw awr:
'Rŷm ninau'n myned, ddydd a nos,
I'r tragwyddoldeb mawr.

5 O! am gael uno gyda'r llu
Gyrchasant at y nod;
Ac, ar adenydd cariad cu,
Ehedeg uwch y rhod. Amen.

## 323 M. N. 10au.

1 MAE Eglwys Dduw trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw, a'u cydsain yn gytun;
"Teilwng yw'r Oen," medd Seintiau yn y nef;
"Teilwng yw'r Oen," fo'n llafar ninau a'n llef.

2 Crist yw ein gwledd, ein hedd, a'n cyfiawnhâd,
Ffordd fywiol, rwydd, i'n dwyn i ŵydd ei Dad;
*Ei arogl Ef* sy'n llenwi'r nef yn llawn,
*Pereiddio* mae weddïau ffiaidd iawn.

Basan bell mae'n cyrchu ambell un
ol i'w dŷ, y teulu hardd, cytun:
.dyfnder môr daw rhagor eto'n rhydd,
Bugail mwyn a'u dwg i oleu'r dydd.

:fydded sôn am bob ymryson mwy,
'tïol farn, a rhagfarn, lawr a hwy:
ed yspryd hedd, tangnefedd yn eu lle,
hariad pur o'r cariad sy'n y ne'. Amen

## M. N. 8. 7.

VMNI'R saint wyf yn ei garu,
Dyma'r cwmni goreu i gyd;
ma 'rhai all siriol wenu
Pan fydd Iesu 'n barnu'r byd.

ma 'rhai a fyddant ddedwydd
Gyda'u Harglwydd yn y nef,
wn caniadau, doniau dinam,
Seiniant Anthem "Iddo Ef."

Iddo Ef yr Hwn a'n carodd
Ac a'n golchodd yn ei waed,
a'n dŷg i fynydd Seion,
A'n gelynion dan ein traed."

Id cymdeithas felys yno
Wrth adgofio taith y byd;
w yn mhresenoldeb Iesu,
A'i foliannu byth yn nghyd.

nae'r *bore* bron a gwawrio
*af ro'i heibio* bob rhyw haint,

A chlodfori byth heb dewi
F'anwyl Iesu 'n nghwmni'r saint. Amen

## 325 M. N. 8. 7.

1 HOFFI'R wyf Dy lân Breswylfa
Arglwydd, lle'r addewaist fod;
Nid oes drigfa'n debyg iddi
Mewn un man o dan y rhod.

2 Teml yr Arglwydd sydd Dŷ Gweddi,
Lle i alw arnat Ti;
Derbyn Dithau ein herfyniau
Pan weddïom yn dy Dŷ.

3 Hoffi'r wyf dy lân Fedyddfan,
Lle mae'r Yspryd oddi fry
Yn bendithio'r gwan aelodau,
Pan dderbynir hwynt i'th Dŷ.

4 Hoffi'r wyf dy Allor sanctaidd,
Yno cawn gysuron hael,
Bara'r bywyd—ymborth nefol—
Ini, bechaduriaid gwael.

5 Hoffi'r wyf wir Air y bywyd,
Tystio mae am wlad yr hedd,
Lle mae gwynfyd yn ddi-derfyn
I'w fwynhau, tu draw i'r bedd.

6 Hoffi'r wyf ddadseinio'th foliant
Yn dy Dŷ âg uchel lef—
*Arglwydd grasol, gwna ni'n addas*
*I'th glodfori yn y nef.* Amen.

# IX.—Y Cristion:

## EI RASAU, EI BROFIAD, EI FILWRIAETH, EI DAITH.

---

326 M. C.

FFYDD.

1 TRWY ffydd fe wel yr enaid gwan,
A'r truan, le i droi;
Ac o wastadedd Sodom fawr
Fe'i gweithia'n awr i ffoi.

2 Fe nesa'r euog yn ei waed,
Trwy ffydd, at draed Mab Duw;
A gwel mai'r bywyd, a'r iachâd,
A'r adgyfodiad yw.

3 Trwy ffydd eheda gweddi'r gwael,
Ac yntau gyda hi;
Tyr ei gadwynau'n chwilfriw mân
Yn ngolwg Calfari.

4 Gair yr addewid yw ei sail,
Ffyddlondeb Duw yn un
Yw ei chadernid pur a'i nerth,
Trwy aberth CRIST ei Hun.

5 I'r lan, o'r dyfnder du a'r dòn,
Daw etifeddion ffydd,
A'u cân *yn un*, er chwerw loes,
*Am angeu'r* groes ryw ddydd. Amen.

B.

## 327

M. H.
GOBAITH.

1 GOBAITH yw angor f'enaid drud
Wrth groesi cefnfor garw'r byd;
Mawr ydyw grym y gwynt a'r dòn
I'm herbyn drwy y fordaith hon.

2 Ond unig obaith f'enaid yw
Addewid ddianwadal Duw;
Mi dafla f'angor yma i lawr,
Yn nghanol tònau'r moroedd mawr.

3 Os tònau ddaw, a gwyntoedd mwy
Na'r rhai y cwrddais gynt â hwy,
Mae gafael f'angor uwch y nen
Yn Iesu, fry, tu fewn i'r llen. Amen.

## 328

M. H.
CARIAD.

1 LLYTH'RENAU d' Enw, Iesu cu,
Fel diliau mêl i'm henaid sy;
A'th wisgoedd yn arogli'n wir
Yn beraidd iawn o'r manna pur.

2 'Does bellach ddim all sugno 'mryd,
A welais eto yn y byd;
Yr Iesu garaf mwy heb gel
I dragwyddoldeb, doed a ddel.

3 A phleser f'enaid gwan yn awr
*Yw caru* fy Eiriolwr mawr;
*Ni feddaf* mwy mewn dae'r na ne'
*Neb byth* i'w garu fel Efe. Amen.

## M. B. D.

ˌAE f'annghrediniaeth cas
Yn amheu gras fy Nuw,
gorfod gwaeddi "Beth a wnaf?"
Iae'n d'weyd na byddaf byw;
od fy meiau mawr
gyd i lawr ar gael;
na fwriadodd Duw ei hun
'yth godi'r fath un gwael.

ˌgrwydd mawr ei rym,
.'i gleddyf llym sy'n lladd,
ˌ ddim i esmwythau fy mron,
ˌrwy'r ddaear gron, un gradd;
a chawn godi 'mhen
ˌoruwch y llen a'r llawr,
gwel'd y ffynnon sy'n glanhau,
'n nghlwyfau'r Meichiau mawr.

ˌini grwydro'n hir
'n mhell o dir ein gwlad,
ˌ eto alwad ar ein hol
dŷ ein nefol Dad:
brysiwn bawb, mewn pryd,
ˌm fywyd ato 'Fe,
ˌ gwledd yn barod ger ein bron,
ˌAc i dylodion le. Amen.

## M. N. 8. 7. 4.

*'M y caiff* y gwyntoedd creulon
*'hwythu'n* wastad o'r un man?

Pa'm y caiff y 'storom gadarn
Guro'n wastad ar y gwan?
Dal i fyny
'R hwn a faeddwyd gan y dòn.

2 Mae fy ofnau fel y moroedd,
Oll yn gwasgu arna' i'n un;
Ofni pechod, ofni angeu,
Ofni 'm hunan, ofni dyn:
'Does a'm ceidw
'N dawel, onid gallu'r nef.

3 Ac er lluaws mawr fy ofnau,
Am a basiodd ac y sydd,
Mwy rwy'n crynu rhag y cystudd
Ag wyf yn ddych'mygu fydd;
Mi ymguddiaf
Yn og'feydd tawela'r nef. Amen.

## 331 M. N. 8. 7. 4.

1 RHO gydwybod wedi ei chànu'n
Beraidd yn y Dwyfol Waed;
Cnawd a natur wedi eu maeddu,
Clwyfau wedi cael iachâd:
Minau'n aros
Yn fy ninas fore a nawn.

2 Dychwel im' gysuron gloew
Fel y dyddiau goreu erioed;
Gad im' gerdded fel yn fachgen
*Eto* unwaith wrth dy droed:
A chael aros
*Tan* dy gysgod nos a dydd.

3 Dyma'r man dymunwn aros—
O fewn pabell bur fy Nuw,
Uwch terfysgoedd yspryd euog,
A themptasiwn o bob rhyw:
Tan awelon
Peraidd, hyfryd, tir fy ngwlad.

4 Tan dy aden cedwir f'enaid,
Yno'n unig byddaf byw;
Tan dy aden y gwaredir
Fi o'r beiau gwaetha'u rhyw:
'Rwyt yn gysod
Rhag euogrwydd yn ei rym. Amen.

## 332 M. N. 8. 7. 4.

1 O! SANCTEIDDIA f'enaid, ARGLWYDD
Yn mhob nwyd ac yn mhob dawn;
Rho egwyddor bur y nefoedd
Yn fy yspryd llesg yn llawn:
Na'd fi grwydro
Draw nac yma, o fy lle.

2 Gwna y llwybr cul yn esmwyth,
Tylau serth gwna'n wastad iawn;
Cyfyngderau blin a chroesau,
O ddyddanwch pur yn llawn:
O! am edrych
Trwyddynt, draw i dŷ fy Nhad.

3 *Plana'r egwyddorion hyny*
*Yn fy enaid bob yr un,*

Ag sydd megys perarogliau
Yn dy natur Di dy Hun;
Blodau hyfryd—
Sy'n prydferthu nef y nef. Am

# 333 M. N. 8. 7. 4.

1 O! NA b'ai cystuddiau f'Arglwydd
Yn fy nghalon i gael lle—
Pob rhyw loes a phob rhyw ddolur
Pob rhyw ffiangell gafodd E':
Fel bo i 'mhechod
Gael ei glwyfo a'i wanhau.

2 O! na byddai oriau 'mywyd
Yn ymborthi ar oriau'th boen,
Fel y galiwyf fi gyd-redeg
A chystuddiau'r addfwyn Oen:
Fe gai 'mhechod
Felly'n fuan golli'r dydd.

3 O! na chawn ddifyru 'nyddiau
Llwythog dan dy Ddwyfol groes
A phob meddwl wedi' glymu
Wrth dy Berson, ddydd a nos:
Byw bob mynyd
Mewn tangnefedd pur a hedd.

# 334 M. S.

1 CLYW 'ngweddi Arglwydd, yn d
*A deall* fy myfyrdod;
*Erglyw fy* llais a'm gweddi flin,
*Fy Nuw* a'm Brenhin hyglod.

)of finau tua'th dŷ mewn hedd,
Am dy drugaredd galwaf:
'rwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
I'th sanctaidd Eglwys treiglaf.

'i, Arglwydd, a anfoni wlith
Dy fendith ar y cyfion;
'th gywir serch, fel tarian gref,
Roi drosto ef yn goron. Amen.

## 5 M. S.

RWY'N gorwedd yn y carchar du,
A'm henaid cu'n och'neidio;
'r gadwyn fawr yn gwasgu'n dyn,
Heb neb a'm tyn o hono.

'y meiau megys gwlith y wawr—
Anfeidrol fawr eu cyfri—
'y'n pwyso'n galed ar fy mron,
A minau bron llewygu.

)ch'neidio'r wyf am ddod yn rhydd,
A gweled dydd gollyngdod:
rodio bryniau sanctaidd, pur,
Nefolaidd dir fy Mhriod.

'i, Iesu mawr, dy allu pur
All dori'r dur caleta':
'or fy nghadwynau oll heb ludd,
A dwg fi'n rhydd oddi yma. Amen.

## 6 M. S.

*RGLYW, O Dduw! fy llefain i,*
*Ac ar fy ngweddi gwrando:*

Rhof lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

2 Dwg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd i'm derbyn;
Can's craig o obaith, twr di fost,
Im' fuost rhag y gelyn.

3 O fewn dy babell y bydd byth
Fy nhrigfan ddilyth ddedwydd;
A'm holl ymddiried a fyn fod
Yn nghysgod dy adenydd. Amen.

## 337 M. N. 8. 7. 3.

1 WRTH dy ystlys wyf am aros,
Wrth dy ystlys mae fy lle;
Yn dy fynwes mae fy llety
Dyogelaf is y ne':
Noddfa yw, byddaf byw
Tan gystuddiau o bob rhyw.

2 Caled yw dyoddef cystudd
Mewn anialwch maith a hir,
Methu teimlo pur ddyddanwch
Addewidion Canaan dir:
Ond fe ddaw, maes o law,
Sypiau peraidd oddi draw.

3 Ffarwel oll o dan yr wybren,
Mi wnes ddewis hyfryd wiw,
*O drysorau* uwch pob meddwl
*Sy'n guddiedig* gan fy Nuw;

Fe rydd lawr gafod fawr
Pan y delo'r gyfyng awr. Amen.

8 M. N. 8. 7. 3.

ARGLWYDD! tyred a'r newyddion
  Sydd yn peri llawenhau;
Ac aed heibio'r noswaith dywell
  O och'neidio a thristau:
Imi'n glir wel'd y tir
Brynwyd trwy ddyoddefaint gwir.

Gad i'm henaid lanio yno—
  Y mae'r tònau'n fawr eu grym;
Ac ni all fy enaid ofnus
  Ddal eu pwysau anferth ddim;
D'angeu drud tra'n y byd
Fydd fy nghysur oll i gyd.

Af ar hyd fy ffordd yn ddiddig,
  Af ar hyd fy ffordd yn hy',
Af trwy'r anial mewn gorfoledd
  Ond cael golwg arnat Ti:
Teimlo'th hedd, gwel'd dy wedd
Faedda angeu du a'r bedd. Amen.

9 M. C.

MAE ofnau yn finteioedd llawn,
  Rai creulawn iawn eu rhyw,
n haeru yn fy wyneb gwan
*Na feddaf ran yn Nuw:*

2 A minau'n llwfwrhau yn lân
Heb wybod ffordd i droi,
Nac yspryd genyf fyn'd yn mlaen,
Nac yspryd gen'i ffoi.

3 Duw dere'n glau—mae'n gyflawn bryd,
Mae bellach yn hwyrhau,
A grym fy mhla sydd wedi'm rhoi
I hollol lwfwrhau.

4 O! dal fi dan fy maich a'm poen,
A'm hofnau maith i gyd;
A rho imi heddwch yn dy glwy'
Sydd lawer mwy na'r byd. Amen.

## 340 M. C.

1 YN nyfnder profedigaeth ddu,
Fy Nuw, dos o fy mlaen;
Ond imi gael bod gyda Thi,
Nid ofnaf ddwr na thân.

2 Dan bob cystuddiau fwy na mwy,
Rhuadau cnawd a byd;
Mae digon nerth mewn marwol glwy'
I'w maeddu oll yn nghyd.

3 Fy nghysur unig dan bob gwae
*Dy fod i mi yn* Dduw;
*Ac yn* dy gysgod mi af trwy
*Gystuddiau* o bob rhyw. Amen.

## 341 M. N. 7. 6.

1 TI Farnwr byw a meirw
Sydd âg allweddau'r bedd,
Terfynau eitha'r ddaear
Sy'n dysgwyl am dy hedd:
Dyw gras i Ti ond gronyn,
Mae gras ar hyn o bryd
Ryw filoedd maith o weithiau
I mi yn well na'r byd.

Un wyf o'r lluaws afiach
A orwedd wrth y llyn,
Gan ddysgwyl wrth yr Angel
Gynhyrfu'r dyfroedd hyn:
A raid i'm henaid farw
'Nol aros yma cy'd?
O'm blaen a fydd i eraill
I gael iachâd o hyd?

Dysgwyliaf wrtho eto,
Pwy wyr 'mhen gronyn bach
Na ddaw y Meddyg yma
I'm gwneuthur inau'n iach:
Ac os bydd iddo'm gwella
O'm nychdod ac o'm briw,
Fe gaiff yr holl ogoniant
A'r moliant tra fwy' byw. Amen.

## M. N. 7. 6.

*Y enaid! gwel fath noddfa*
*Ddiysgog, gadarn yw,*

Yn mhob rhyw gyfyngderau,
  Tragwyddol ras fy Nuw;
Ac yma boed fy nhrigfan,
  A fy nhawelaf nyth,
Yn nyfnder fy nhrallodau,
  Sef tan ei aden byth.

2 Fe all i'r lan fy nghodi
  O ddyfnder llwch y byd,
A gwneyd pob drwg a gwrddwyf
  Droi er daioni i gyd:
Rhoi olew o lawenydd
  Yn wastad ar fy mhen,
A'm dwyn trwy foroedd dyfnion
  I ganol nefoedd wen.

3 Am angeu'r groes bydd canu
  I dragwyddoldeb maith;
Rho im' gael teimlo'i rinwedd—
  'Rwyf bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
  A'i deimlo'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch
  O'm mewn yn oleu ddydd. Am

## 343 M. N. 8. 7. D.

1 O! PA bryd caf wel'd dy wyneb,
  Oll yn heddwch oll yn ras,
Heb un pechod yn fy nghlwyfo,
  *Nac yn* ddirgel gario'r maes;
*Heb fod rhyng*of len a'r bywyd,
  *Nac un* ysbryd marw syth,

Heb un waedd yn fy nghydwybod,
Ond tangnefedd pur dilyth!

2 Bryd caf wel'd y tir dymunol,
Hyfryd baradwysaidd wlad,
Lle mae brodyr imi fyrddiwn,
Lle mae 'Mhriod, lle mae 'Nhad;
Lle caf orphwys o fy llafur,
Lle caf wella'm dwfwn friw,
A chael gwledd dragwyddol gyson
Fry yn nghwmni'm Tad a'm Duw!

3 D'wed pa bryd caf yfed dyfroedd,
Dyfroedd gloewon sy'n iachau;
Pob rhyw bleser wedi darfod
Ond yn unig dy fwynhau:
Pwyso'm henaid ar dy fynwes,
Edrych yn dy wyneb llon,
Caru nes annghofio'r oriau
Sydd im' ar y ddaear hon. Amen.

## 344 M. N. 8. 7. D.

1 GOLEU nerthol yw dy eiriau,
Melys fel y diliau mêl;
Cedyrn fel y bryniau pwysig,
Angeu'm Iesu yw eu sêl·
Rhai'n a nertha'm henaid gerdded
Dyrys anial ffordd yn mlaen;
Rhai'n *a gynal* f'enaid egwan
*Yn y dwr* ac yn y tân.

2 Nis gall holl hyfrydwch natur,
A'i melysdra penaf maes,
Fyth gymharu â lleferydd
Hyfryd, pur, maddeuol ras:
Gad im' glywed swn dy eiriau,
Awdurdodol eiriau'r nef,
Oddi mewn yn creu hyfrydwch
Nad oes mo'i gyffelyb Ef.

3 O! llefara, addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwin,
Oll yn dwyn i mewn dangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rîn;
Mae holl leisiau'r greadigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf, tawel,
Yn dystewi a myn'd yn fud. Amen.

## 345 M. N. 8. 7. D.

1 O! AM nerth i dreulio'm dyddiau
Yn nghynteddau tŷ fy Nhad;
Byw yn nghanol y goleuni,
T'wyllwch obry tan fy nhraed;
Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad annorchfygol,
Pur, y croeshoeliedig Oen.

2 Yn dy waith y mae fy mywyd,
Yn dy waith y mae fy hedd;
Yn dy waith yr wyf am aros
Tra bwy'r ochor hyn i'r bedd;

Yn dy waith ar ol myn'd adre
  Trwy gystuddiau rif y gwlith,
Moli'r Oen fu ar Galfaria,
  Dyna waith na dderfydd byth. Amen.

## 46 M. N. 8. 8. 8.

A RAID i gystudd garw'r groes
  I ganlyn f'ysbryd ddydd a nos?
  Os rhaid, gwna fi yn foddlon iawn:
Tan ganu gwna i mi fyn'd yn mlaen,
Sef canu yn y dwr a'r tân,
  O fore 'mywyd hyd brydnawn.

Mae brodyr imi aeth yn mlaen
Trwy ddyfnach dwr, a phoethach tân—
  Ac eto gorchfygasant hwy:
Dyw'r dyfroedd aethum trwyddynt ddim
Mewn lled, a dyfnder, nerth a grym;
  Paham yr ofnaf finau mwy.

O! nertha fi i fyn'd yn mlaen
Heb ofni grym y dwr a'r tân,
  A doed hi arnaf fel y dêl:
Wrth deithio trwy'r anialwch maith
Mi welaf weithiau ben fy nhaith,
  Mewn gwlad sydd lawn o laeth a mêl.
Amen

## 47 M. N. 6. 8.

*O! NA allwn* roddi 'mhwys
  *Ar dy alluog* law,

A gado i gystudd dd'od
Oddiyma ac o draw;
A byw tan nawdd y Dwyfol waed
Yn ngolwg hyfryd tŷ fy Nhad.

2 Ni phery ddim yn hir
Y ddu dymhestlog nos:
Ni threfnwyd amser maith
I neb i gario'r groes:
Mae'r hyfryd wawr sy'n tori draw
Yn d'weyd fod bore braf gerllaw.

3 Mi wela'r cwmwl du
Yn awr yn mron a ffoi,
A gwynt y gogledd sy
Ychydig bach yn troi:
'Nol tymhestl fawr daw yn y man,
Ryw hyfryd hin ar f'enaid gwan.

4 A heibio'r dywell nos,
Fe ffy cymylau'r nen,
Fe ddaw'r addewid wir
A'i geiriau pur i ben:
Ceir gwel'd, ceir gwel'd yr hyfryd dir
Ar fyr o dro yn oleu clir. Amen.

## 348 M. N. 8. 8.

1 RHYW 'stormydd mawr eu grym
Sy'n curo f'enaid gwan;
O anwyl Iesu bydd
Dy Hunan ar fy rhan;
*O dal fi'r* lan â'th allu mawr,
*Ac onide* mi sodda'i lawr.

2 Gelynion rif y dail
Sydd am fy nghael i lawr,
O fewn, o faes, bob dydd
Fel tònau'r moroedd mawr:
Os deli Di fy mhen i'r lan,
Caf fuddugoliaeth yn y man.

3 Na ad im' lwfwrhau
Er amled ydyw'r llu;
O cynal f'enaid gwan
Nes d'od i'r Ganaan fry;
Y wlad nad oes na chur na loes,
Ond moli'r Gwr fu ar y groes. Amen.

## 349 M. N. 7au. 6ll.

1 BETH sydd imi yn y byd?
Gorthrymderau mawr o hyd:
Gelyn ar ol gelyn sydd
Yn fy nghlwyfo nos a dydd;
Meddyg archolledig rai,
Dere'n fuan i'm hiachau.

2 Arglwydd, ffoed cymylau mwy,
Grym euogrwydd damniol glwy';
Rho imi brofi'th Ddwyfol hedd,—
Afon bur tu yma i'r bedd;—
Fel y gallwyf ddydd a nos
Ymddigrifo yn y groes.

3 *O! na allwn, tra f'wyf byw,*
*Rodio bellach gyda* Duw;

Treulio f'oriau iddo'n llwyr,
O foreuddydd hyd yr hwyr,
Canu am ei werthfawr waed,
Nes meddiannu'r nefol wlad. Amen.

## 350 M. N. 8. 7. 4.

1 F'ENAID egwan, paid ag ofni,
'D yw d'elynion oll yn un,
Ond rhai eisioes wedi'u concro
Gan a wisgodd natur dyn:
Fe fyn weled
Pob rhyw elyn dan fy nhraed.

2 Ni all Satan a'i holl allu—
Yspryd cyfrwys, mawr ei rym—
Am ei fod o fewn y gadwyn,
Heb ei genad, wneuthur dim:
Hollalluog!
Ydyw Enw mawr fy Nuw.

3 Pa'm yr ofnaf feiau mawrion?
Trymach ydyw marwol glwy',
Mwy yw gair o enau f'ARGLWYDD,
Na myrddiynau o honynt hwy:
Gwna i mi gredu,
Rhued môr, terfysged tir. Amen.

## 351 M. N. 8. 7. 4.

1 *CHWILIO* am danat, addfwyn ARGLW[YDD],
*Mae fy* en[aid] yma a thraw:

eimlo 'mod i'n berffaith ddedwydd
Pan y byddi Di gerllaw:
Gwedd Dy wyneb
w fy mywyd yn y byd.

n y ffwrnes danllyd greulon
Os tydi a ddaw yn mlaen,
'oes ond heddwch a mwyneidd-dra,
A thiriondeb yn y tân:
Gwen dy gariad
'na bob cystudd yn ddirym.

. wy'n mofyn, Arglwydd tyred,
Yn mhob trallod bydd gerllaw;
ilyn fi, 'rwy'n ofni yma,
Dilyn fi, 'rwy'n ofni draw:
Tan dy aden
i edrycha'n wyneb llu. Amen.

## 2 M. N. 8. 7. 4.

RNAT, Iesu, boed fy meddwl,
Am dy gariad boed fy nghân;
gged swn dy ddyoddefiadau
Fy serchiadau oll yn lân:
Mae dy gariad
wch y clywodd neb erioed.

agori Di fy llygaid
I gael gwel'd y cariad llawn,
*fodd allan fel* y moroedd
*Ar Galfaria un* prydnawn,

Ti gai'r cwbwl
Roddaist imi yn fy rhan.

3 O darfydded imi garu
Unrhyw bleser îs y ne';
A darfydded im' fyfyrio
Ar un gwrthddrych yn dy le;
Aed fy yspryd
Oll yn llwyr yn eiddot Ti. Amen

## 353 M. N. 8. 8. 8. 6.

1 DY gariad, Iesu, sydd yn awr
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyncu enwau gwael y llawr
Oll yn ei Enw ei hun:
Rhyw fflam angherddol, gadarn,
O dân enynwyd yn y nef,
Tragwyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Duw a ninau'n un.

2 Fy Nuw, fy Nuw, i gyd ei hun
Fydd fy anfeidrol gariad cun;
Llawenydd anchwiliadwy'n un,
A hedd o hono dardd:
Ehangder o oleuni clir,
Mwy dysglaer nag o'r dwyrain di
Môr o bleserau perffaith, pur,
Gwrthddrychau nefol hardd.

## 354 M. N. 8. 8. 8. 6.

1 *PE y diffoddai*'r heulwen fawr,
*Pe syrthiai* ser y nen i lawr,

A phe diffygiai'r bore wawr,
  A th'wyllwch gael eu lle,
Cawn drigo mewn sancteiddiol dir,
Yn llewyrch Haul Cyfiawnder pur,
Tragwyddol faith ddiwrnod clir,
  O fewn i furiau'r ne'.

2 Pan gollo gwellt y maes eu dawn,
A'r wybr faith ei bore a nawn,
A dystryw dd'od yn gyflawn iawn
  Ar nef a daear lawr,
Caf weled sanctaidd newydd dir
O degwch ac o bleser pur,
A darddant maes o'r Duwdod gwir,
  A rhyw ogoniant mawr.

3 Myfyrio am fyn'd sydd felys iawn,
Mae f'enaid eisioes fore a nawn
Am gynnefino ei nefol ddawn,
  A chwareu'i aden bur,
Fel pe b'ai am anturio'n hŷ'
Trwy ganol y cymylau fry,
A neidio i mewn i blith y llu
  Lle mae'r MESSIAH gwir. Amen.

## 355 M. C.

1 PLANT ydym eto dan ein hoed
  Yn dysgwyl am ein 'stad;
Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
  Wrth destament ein Tad.

Na ddigalonwn er ein bod
  Yn awr mewn anial wlad;

Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth destament ein Tad.

3 Gorthrymder geir o dan y rhod,
Ond byr fydd ei barhâd;
Mae'r etifeddiaeth ini'n d'od
Wrth destament ein Tad. Amen.

## 356

M. C.

1 MEWN cyfyngderau bydd yn DDUW,
Nid wyf ond gwyw a gwan;
Nid oes ond gallu mawr y nen,
A ddeil fy mhen i'r lan.

2 Mae'r byd a'i degwch oll a'i fri,
A'i swynion o bob rhyw,
Yn ceisio 'm denu bant yn glir
O lwybrau pur fy NUW.

3 Cysurwch fi, afonydd pur,
Rhedegog ddyfroedd byw,
Sy'n tarddu o dan riniog cu
Sancteiddiaf dŷ fy NUW.

4 Rho brawf im' o'r winwydden rydd,
O fywyd sydd yn llawn;
Y ffynnon fawr agorwyd fry
Ar Galfari brydnawn. Amen.

## 357

M. C.

1 YR Iawn a dalwyd ar y groes
Yw sylfaen f'enaid gwan;

Wrth bwyso arno ddydd a nos
'R wyn dysgwyl dod i'r lan.

2 Mi welaf le, mewn marwol glwy',
I'r euog guddio 'i ben;
Ac yma llechaf nes myn'd trwy
Bob aflwydd îs y nen.

3 'Does dim yn gwir ddifyru f'oes
Helbulus yn y byd,
Ond mynych olwg ar y groes
Lle talwyd Iawn mewn pryd.

4 Calfaria fryn yw f' unig sail,
Adeilaf arno mwy;
A gwraidd fy nghysur fyth gaiff fod
Mewn Dwyfol farwol glwy'. Amen.

## 358 M. H.

1 BYW im' yw CRIST, er bod mewn bedd;
Byw im' yn Eiriol fry mewn hedd;
Byw im' yn Feddyg i fy nghlwy;
Byw'n Frawd a Phriod imi mwy.

2 Byw'n Archoffeiriad ar fy rhan;
Byw'n nerth a phlaid i f'enaid gwan;
Byw'n Frenhin ar ei orsedd fawr,
I'm hachub a'm gwaredu'n awr.

3 Byw imi'n Brophwyd mawr ei ddawn,
I'm dysgu yn rhyfeddol iawn;
I'm *dysgu 'mwadu* a mi fy hun,
*Gan roi'r gogoniant* iddo'n un.

4 Fy mywyd yw mewn cyfiawnhâd;
Fy ngobaith cadarn am iachád;
Fy iachawdwriaeth oll a'm cân;
Fy mywyd yn y dwr a'r tân. Amen.

## 359 M. H.

1 DOES arnaf eisiau yn y byd
Ond golwg ar dy haeddiant drud,
A chael rhyw brawf o'th nefol rin,
I 'mado'n lân â mi fy hun.

2 Yn fynych fynych, IESU cu,
Datguddia 'th fod yn eiddo i mi:
Mewn'stormydd mawr yn wastad gad
Im' ddysgu llefain Abba, DAD.

3 O! hoelia 'meddwl, ddydd a nos,
Crwydredig, wrth dy nefol groes;
A phlana'm hyspryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur. Amen.

## 360 M. H.

1 FY anwyl IESU aeth i'r nef,
Mae'm holl ymddiried ynddo Ef,
Yn ol ei draed mi gerdda'n hy'
Nes im' gael golwg arno fry.

2 Ymdrechu bum â'r gelyn cas,
A llithro fwyfwy ar y maes,
*Nes imi* glywed galwad CRIST,
"*Myfi* yw'r ffordd, tyr'd enaid trist."

ligaid Oen mi wela'th glwyf,
'm derbyni fel yr wyf,
ıadur euog yn ei waed
ı d'od am brawf o'th gariad rhad.

f pechaduriaid glywed son
fy nglanhâd yn ngwaed yr Oen;
gosaf Brynwr dynolryw,
waeddaf "Wele'r ffordd at Dduw!"
Amen

M. N. 8. 8. 6.

IESU byw, Iachawdwr byd,
Dwg fi yn glau i'th fynwes glyd,
ael prawf o'th gariad cu,
d well na'r gwin i'm henaid gwan,
hyn 'rwy'n daer am gael bod dan
'y dirion aden Di.

gariad dwys yn f'enaid dod,
ynddo fyth gad imi fod,
'n nofio tua'r ne':
gado'n deg yr anial dir,
lanio fewn i Salem dir,
'm gofid, och, a'm gwae.

wynfydedig ddedwydd awr,
ysgleirwen wir, O hyfryd wawr!
'af esgyn uwch y nen:
phwysfa lân, tragwyddol wledd,
fi *fwynhau mewn* dinas hedd:
*oed hyn ar frys*, Amen. Amen.

## 362 M. N. 8. 7. D.

1 TAN fy maich yr wyf yn gruddfan,
Dysgwyl amser o ryddhau;
Dysgwyl i 'mhechodau dreulio,
Eto 'mhechod sy'n parhau:
Trais a gorchest ar fy yspryd,
Cryf yw'm gelyn, minau'n wan:
Addfwyn Oen! yn fuan brysia,
Cod fi o'r pydew hwn i'r lan.

2 O! na chlywn yr udgorn arian
Yn cyhoeddi'n eglur iawn,
Bellach i fy enaid llwythog
Heddwch a maddeuant llawn;
O! na ddeuai nerth i waered,
Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel nad allai'm nwydau penaf
Bellach ei wrthsefyll ddim.

3 O! 'rwy'n brefu am yr oriau
Pan y caffwy 'nhraed yn rhydd;
Dyna Iubil fy nghysuron,
Dyna 'ngwaredigol ddydd;
Dyna 'r wledd 'rwy'n gwaeddi am dani
Pan na byddo pechod mwy
I ladrata'r meddwl lleiaf,
Nac i roddi imi glwy'. Amen.

## 363 M. N. 8. 7. D.

1 MAE 'r anialwch wedi 'mlino,
Chwant sydd arnaf weld y tir

Roddwyd imi gan fy ARGLWYDD
  Cadarn, mewn addewid wir;
Gwlad o oleuni heb dywyllwch,
  Gwlad o gariad heb ddim trai,
Gwlad heb hawddfyd na phleserau
  Ond yn unig dy fwynhau.

2 Tyred, IESU, i'r anialwch
  At bechadur gwael ei lun,
Ganwaith dd'rysodd mewn rhyw rwydau,
  Rhwydau weithiodd ef ei hun:
Llosg fieri sydd o'm cwmpas,
  Rho fi sefyll ar fy nhraed,
Moes dy law ac arwain drosodd
  F' enaid gwan i dir ei wlad. Amen.

## 364 M. N. S. 7. D.

1 CYFARWYDDA'm henaid, ARGLWYDD,
  Pan b'wy 'n teithio 'mlaen ar hyd
Llwybrau culion, dyrys, anhawdd,
  Sydd i'w cerdded yn y byd:
Cnawd ac yspryd yn rhyfela,
  Weithiau cariad, weithiau cas,
Tòn ar dòn sydd yn gorchuddio
  Egwyddorion nefol ras.

2 Cul yw'r llwybr imi gerdded,
  Is fy llaw mae dyfnder mawr;
Ac *mae ofnau yn fy* nghalon
  *Rhag i'm troed i* lithro lawr;

Yn dy law y gallaf sefyll,
Yn dy law y dof i'r lan,
Yn dy law byth ni ddiffygiaf,
Er nad ydwyf fi ond gwan.

3 Gyda Thi mi af trwy'r fyddin,
Gyda Thi mi af trwy 'r tân;
'D ofnaf ymchwydd yr Iorddonen
Ond i Ti fyn'd o fy mlaen;
Ti yw'm hamddiffynfa gadarn,
Ti yw 'Mrenhin a fy Nhad;
Ti dy Hunan oll yn unig
Yw fy iachawdwriaeth rad. Amen

## 365 M. N. 8. 7.

1 IESU, llawnder mawr y nefoedd,
Gwrando lef un eiddil gwan
Sydd yn plygu wrth dy orsedd,
Ac yn codi 'i lef i'r lan:
Mae' ngelynion heb rifedi
Yn fy nghuro o bob tu,
Ac nid oes a all fy achub
Yn y nefoedd, ond Tydi.

2 Yn dy glwyfau y mae bywyd,
Tyllau'r hoelion yw fy nyth,
'D ofnaf fyd, na chnawd, na phechod,
Nac euogrwydd yno byth:
Gwaed fy Mhriod wedi'i golli,
Archoll fawr y wayw-ffon,
Yw fy nghraig a'm dinas noddfa
Sicr ar y ddaear hon.

dwydd yw sydd yn dy glwyfau,—
Nid rhyw ofnau yno sydd,
d llawenydd, hedd, a chariad,
Oll yn oll yn cario'r dydd:
vledd nefolaidd yw'th gymdeithas,
Pell uwchlaw i ddeall dyn:
GLWYDD! gad i minau'i phrofi
Trwy dy YSPRYD Di dy Hun. Amen.

3 M. N. 8. 7.

NWAITH eto mi ddyrchafaf
Un ochenaid tua'r nef;
vda thaerni yr ymbiliaf
Am ei bresenoldeb Ef:
vy a ŵyr na wrendy clustiau
'R Hwn a greodd ddae'r a nen,
na ddaw fy nymuniadau
Trist, hiraethlon, oll i ben.

rth ei orsedd yr ymdrechaf,
A fy ngolwg tua'r nef;
dysgwyliaf hyd y wawrddydd
Am ei bresenoldeb Ef:
had faddeuant, gwawria bellach,
Rho garcharor caeth yn rhydd,
u'n ymdreiglo mewn tywyllwch,
'Nawr i weled goleu'r dydd. Amen.

7 M. N. 8. 7.

*IR ddysgwyliais* am foreuddydd,
*Eto tew gymylau sy'*

Yn parhau i'm hamgylchynu
Oddiwared, oddifry;
Beichiau trymion sy'n fy ngwasgu—
Minau'n egwan dan y groes;
Colli'th wyneb, dirion ARGLWYDD,
Sydd yn ychwanegu'r loes.

2 O! llewyrched Haul Cyfiawnder
Yn ei nerthol ras a'i rym,
A dangosed ei effeithiau
Wedi'r gauaf mwyaf llym;
Euog, aflan, oer, a diffrwyth,
Halogedig oll wyf fi;
IESU, Ffynnon iachawdwriaeth
A rhinweddau oll wyt Ti. Amen.

# 368 M. N. 10au.

1 GWNA fi fel pren plannedig,′ O fy NUW,
Yn îr ar lan afonydd′ dyfroedd byw;
Yn gwreiddio ar led, a'i ddail heb′ wywo mwy,
Yn ffrwytho dan gawodydd′ Dwyfol glwy′.

2 Fel byddwyf byw yn nghanol′ pob rhyw bla,
Dan gysgod clyd adenydd′ IESU da;
A'm tegwch gwir, fel olew′wydden wiw,
O blaniad teg daionus′ YSPRYD DUW.

3 Ac yno caf, mewn haf drag′wyddol ddydd,
Y palmwydd teg, a'r goron′ brydferth sydd
Yn nghadw gan yr IESU′ pur i'w saint
Mewn dysglaer fyd, O nefol,′ freiniol fraint!

4 Fel haul yn llon, boed imi' deithio o hyd,
Nes cyrhaedd pen fy ngyrfa' yn y byd;
A meddwl pur, ewyllys' bywiog, llon,
Nes gado o'm hol yr hudol' ddaear hon.
Amen.

## 369

M. N. 10au.

1 MAE Seion wan yn gruddfan' tan y groes,
Mewn cystudd mawr, ar lawr tan' lawer loes;
Bywhâ dy waith, ni phery'm' taith yn hir,
'Rwy'n ofni'r bedd heb wel'd dy' wedd yn wir.

2 P'le 'rwyt yn myn'd pa'm 'rwyt yn' aros draw?
Tyr'd O fy Nuw, ymafla' yn fy llaw;
Tegwch heb sylwedd sy yma' yn gytun,
Y cwbl sydd werthfawr sy ynot' Ti dy Hun.

3 Fy Nuw, fy Nuw, fy Mhriod' a fy Nhad,
Fy ngobaith oll a'm iachaw'dwriaeth rad,
Ti fuost noddfa gadarn' i myfi;
Gad imi eto wel'd dy' wyneb cu.

4 Rho gymhorth clau i'm nerthu i' fyn'd yn mlaen;
'Rwy'n llwfwrhau, O enyn' Ddwyfol dân;
Mae amal dòn yn curo' f'enaid prudd,
A'r *creigiau'n serth;* Rho nerth yn' ol y *dydd. Amen.*

## 370

M. N. 7. 6.

1 O DAN y groes 'rwy'n gruddfan
Yn chwerw nos a dydd;
Ond yn y groes mae 'mywyd,
Ac yn y groes mae'm ffydd;
Ar bwys y groes mi ddringaf
I'r drigfan ddedwydd draw,
Ac am y groes mi ganaf
Yn beraidd maes o law.

2 Trwy'r groes y daeth trugaredd
I gadw euog ddyn;
Trwy'r groes y daeth cyfiawnder
A heddwch yn gytun;
Trwy'r groes fe ddisgyn Duwdod
I godi llwch y llawr;
Am hyny mi ymffrostiaf
Yn nghroes fy Iesu mawr. Amen.

## 371

M. N. 7. 6.

1 DYWEDODD annghrediniaeth,
Do, wrthyf lawer gwaith,
Am beidio blino'r Athraw,
Mai ofer fyddai 'ngwaith;
Af at ei orsedd eto
Er dued yw fy lliw;
Pwy wyr na chaf drugaredd—
Un rhyfedd iawn yw Duw.

2 *Er 'mod* i fel troseddwr
Yn haeddu melldith Duw.

Mae'r Cyfiawn wedi marw
  I'r euog rai gael byw:
Wrth gredu yn ei Enw
  Ca'dd miloedd gyfiawnhâd;
Mi fentraf finau f'enaid
  Yn ffyddiog ar ei waed.

3 Wrth deimlo grym fy llygredd,
  'R wy'n ofni tynu'n ol;
Duw! dyro nerth bob mynyd
  I redeg ar dy ol:
Rho imi yspryd gwylied
  Tra byddwyf ar y llawr,
A chadw ofn duwiol
  Yn f'enaid bob yr awr. Amen.

## 372 M. N. 8. 7. D.

1 MAE fy nghalon am ehedeg
  Unwaith eto i fyny fry,
I gael profi'r hen gymdeithas
  Gynt fy rhyngof â Thydi;
Crwydrais mewn anialwch garw
  Heb un gradd o oleu'r dydd;
Un wreichionen o dy gariad
  Wna fy rhwymau oll yn rhydd.

2 Dyro olwg ar dy haeddiant,
  Golwg ar dy deyrnas rad
Brynwyd imi ac a seliwyd,
  Seliwyd imi â dy waed:
Rho imi *gyrchu tuag* ati,
  *Peidio byth* a llwfwrhau

Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt
Ond yn unig dy fwynhau.

3 Cyfod, Haul sy'n maeddu'r t'wyllwch,
Chwal y beiau mwyaf cudd;
Gyr holl ofnau annghrediniaeth,
Fel y nos o flaen y dydd:
Rho imi wel'd yr ardal hyfryd
Man lle mae fy ngobaith gwell,
A chael pleser yn yr anial
I edrych ar y gwledydd pell. Amen.

## 373 M. N. 8. 7. D.

1 Y MAE'R oriau yn fy ngalw
'N ddyfal beunydd i bar'toi;
Tân sy'n d'od ar ddinas dystryw,
Tua Soar gwna imi ffoi!
ARGLWYDD, 'mafael ynwy'n fuan,
Onide ni ddeuaf byth;
Tra bo'r tân yn llosgi Sodom,
Yn y bryniau gwna fy nyth.

2 Clywaf lais gan bob rhyw raddau
O'r creaduriaid mân i gyd,
'Mod i wedi aros digon—
Hepian gormod yn y byd;
Deffro, deffro, medd pob tafod
Glywaf yma îs y nef;
Paid a hepian, mae'n ddiweddar,
Cychwyn bellach tua thref. Amen.

## 374 M. N. 6. 6. 4.

1 MAE pechod o bob gradd
Yn fawr am gael fy lladd,

A minau'n wan;
O estyn fraich i maes,
Dangos d' effeithiol ras,
O'r tiroedd anial cras
Dwg fi i'r lan.

2 Ac er nad wyf ond gwan,
Os deli Di fi i'r lan,
Ni'm maeddir ddim;
Mae nerth dy fraich yn fwy
Na'u holl fyddinoedd hwy,
Sy'n rhoddi imi glwy',
Er maint eu grym.

3 Yn awr 'rwy'n llawenhau,
Mewn gobaith am fwynhau
Y goncwest glir
Ar bechod o bob rhyw—
Gelynion gwaetha'n fyw,
Sy'n rhwystro f'enaid gwiw,
I'r sanctaidd dir.

4 Wel f'enaid dos yn mlaen,
Heb ofni dwr na thân,
Mae genyt Duw;
'Dyw'r gelyn mwya'i rym,
I'w nerth anfeidrol ddim,
Fe goncra'm pechod llym—
Ei elyn yw. Amen.

## 75 M. N. 8. 7. 8.

*AROS, Iesu, yn y rhyfel,*
*F'enaid yn lluddedig sydd:*

Ti biau d'rysu fy ngelynion,
Ti biau'r enw, Ti biau'r dydd;
Yn dy ddawn unig cawn
Fuddugoliaeth werthfawr iawn.

2 Minau gerddaf trwy'r byddinoedd
Ond it' gerdded o fy mlaen;
Mae dy gamrau'n tori'r tônau,
Mae dy gamrau'n diffodd tân:
'Nol dy droed gwna i mi dd'od,
Fy hyfrydwch mwya' erioed.

3 Dos o'm blaen, mae'm hofnau'n darfod
Pan y gwelwyf Di gerllaw;
Ond dychwelant mewn mynydyn
Os Tydi a sefi draw:
F'enaid drud bob rhyw bryd
Bwyso ar dy fynwes glyd.

4 Dyma'r man y byddaf ddedwydd,
Yma byddaf wrth fy modd:
Ac nid ofnaf unrhyw elyn,
Nac yn ddirgel nac ar g'oedd:
Iesu i gyd yn y byd
Yw fy amddiffynfa glyd. Amen.

## 376 M. N. 8. 7. 8.

1 ARGLWYDD, dyro nerth a goleu,
Gwel nad wyf ond milwr gwan;
A gelynion heb rifedi
Yn fy erbyn yn mhob man:
Saif dy Hun, Arglwydd cun,
Rhyngof fi a hwy bob un.

Juddia fi o dan dy aden,
  Dal fi i'r lan, a dwg fy maich;
Ac mewn hyder pur ysprydol
  Nerth im' orphwys ar dy fraich:
Gwaith dy ras gario'r maes
Ar fy holl elynion cas. Amen.

77 M. H.

GWEDDIO'R wyf, och'neidio'n brudd—
  Rhyfela'n deg am gael y dydd;
Lleng sydd o fewn, llu sydd o faes—
Rhyw fyddin gref am faeddu'm gras.

Pa bryd caf deimlo'r cariad rhad,
'm henaid gwan, a rhîn y gwaed,
'm gwneyd yn gryf yn erbyn grym,
c eithaf llid gelynion llym?

anwyl IESU! brysia, bydd
ı awr fel iwrch neu lwdn hydd;
tyr'd ar frys a chluda lawr
holl elynion, fach a mawr.

f yw dy fraich, mawr yw dy rym,
oes a saif i'th erbyn ddim;
r o dy enau Di dy Hun
d fy ngelynion bob yr un. Amen.

M. H.

*'G fi, fy Nuw*, dysg fi pa fodd
*dd'weyd* a gwneuthur wrth dy fodd;

A chanu cariad addfwyn Oen,
Ffyddlonaf, yw eu gwaith.

5 O nertha finau i edrych draw,
Heb wyro o un tu,
Nes imi gyrhaedd mewn i byrth
Caersalem newydd fry. Amen.

## 381 M. C.

1 AR fôr tymhestlog teithio'r wyf,
Lle garw, enbyd yw;
Lle boddodd myrdd, a llawer mwy,
A mi, drwy ras, yn fyw!

2 O ARGLWYDD, dal fy enaid llaith
Yn mhob rhyw storom ddaw;
A dwg fi dros y moroedd maith
I'r hafan yn dy law.

3 Nes cyrhaedd hyfryd lanau'r nef,
Bydd gadarn ar fy rhan;
A dwg fi trwy'r ystorom gref,
O dòn i dòn i'r lan. Amen.

## 382 M. C.

1 RWY'N morio tua chartre'm NER,
Rhwng tònau maith 'rwy'n byw,
Yn ddyn heb neges dan y ser
Ond mofyn am ei DDUW.

*2 Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro i'n ol,*
*A mi nid* wyf ond gwan;

O cymer, Iesu, fi' n dy gôl,
Yn fuan dwg fi i'r lan.

Na'd fi ar aswy nac ar dde
I redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenhin ne'
Trwy ganol dwr a thân.

O cau fy llygaid rhag im' wel'd
Pleserau gwag y byd;
Rhag imi wyro byth oddiar
Dy lwybrau gwerthfawr drud. Amen.

383 M. B. D.

1 PERERIN llesg a llaith
Dechreuais daith oedd bell,
Trwy lu o elynion mawr eu brad,
Gan geisio gwlad sydd well:
Am ffoi mae f'enaid tlawd
At f'anwyl Frawd a'm Pen:
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

2 'Rwy'n gwel'd yr oriau'n hir,
Y fod o dir fy ngwlad;
'Bryd deuaf at fy mrodyr fry,
Sy'n canu'n nhŷ fy Nhad?
Gael gorphen ar fy ngwaith,
A'm taith o dan y nen;
*Yn Salem fry* par'to fy lle,
*Mewn llys o* fewn i'r llen.

## 384

M. B. D.

1 CHWI bererinion glân,
Sy'n myn'd tua'r Ganaan wlad,
Ni thariaf finau ddim yn ol,
Dilynaf ol eich traed,
Nes elw' i Salem bur,
Mewn cysur llawn i'm lle:
O Ffrind troseddwyr moes dy law,
A thyn fi draw i dre.

2 Mae'r manna gwedi ei gael
Mewn dyrys anial dir;
Ymborthi caf, ond myn'd yn mlaen,
Ar ffrwythau'r Ganaan bur:
Mae yno sypiau grawn
Yn llawn o fewn i'r lle:
O Ffrind troseddwyr moes dy law,
A thyn fi draw i dre.

3 Wrth feddwl am y wlad
A ragbar'tow'd i'r plant,
A chyflawn degwch tŷ fy Nhad,
Mae ar fy nghalon chwant
I lanio uwch y nen,
Tu draw'r Iorddonen gre':
O Ffrind troseddwyr moes dy law,
A thyn fi draw i dre. Amen.

## 385

M. B. D.

1 PERERIN wy'n y byd,
Ac alltud ar fy hynt,

Yn ceisio dilyn ol y praidd,
  Y tadau sanctaidd gynt;
I mofyn gwlad sydd well,
  Er 'mod i 'mhell yn ol,
Trwy gymhorth gras yn mlaen mi af,
  Dilynaf finau'u hol.

Prophwydi hen o'r bron,
  A'r Apostolion hŷ,
A holl ddisgyblion Iesu glân
  A aeth yn mlaen yn llu:
Y rhai a ddarfu i'r byd
  Eu cyfri' gyd yn ffol;
Trwy gymhorth gras yn mlaen mi af,
  Dilynaf finau'u hol.

Os rhaid ymdrechu dro,
  Milwrio a dwyn y groes,
A myn'd dan wg a gwawd y byd
  Dros enyd fer o'm hoes;
Caf goron gyda'r saint,
  Tragwyddol fraint sy'n ol:
Trwy gymhorth gras yn mlaen mi af.
  Dilynaf finau'u hol. Amen.

6 M. N. 8. 7. 4.

ARGLWYDD! arwain trwy'r anialwch,
  Fi, bererin gwael ei wedd,
Nad oes ynof nerth na bywyd,
  Fel yn gorwedd yn y bedd:
  *Hollalluog*
*Dyw'r Un a'm* cwyd i'r lan.

2 Colofn dân rho'r nos i'm harwain,
A rhô golofn niwl y dydd;
Dal fi pan yn teithio manau
Geirwon yn fy ffordd i sydd:
Rho i mi Fanna,
Fel na bo im' lwfwrhau.

3 Agor y ffynhonau melys
Sydd yn tarddu o'r graig i maes;
Hyd yr anial maith canlyned
Afon iachawdwriaeth gras:
Rho i mi hyny—
Dim i mi ond dy fwynhau. Amen.

## 387 M. N. 7. 8. 4.

1 TEITHIO'R wyf trwy ddyrys anial,
Tua Salem bur yn awr;
Rhaid im' gael o hyd fy nghynnal,
Onide mi sudda' i lawr;
Ior anfeidrol!
Dal fi â dy allu mawr.

2 ARGLWYDD! dyro im' gael canfod
Goleu claer y golofn glir:
Dyma ddigon dan bob trallod—
Llewyrch yn yr anial dir:
Rho d'arweiniad
Nes cyrhaeddyd Canaan bur.

3 *Wedi teithio* trwy'r anialwch,
*Melys* cyrhaedd pen y daith!

Perffaith burdeb a dyddanwch
Geir am dragwyddoldeb maith:
Moli'r Iesu
Yno fydd yr hyfryd waith. Amen.

## 388

M. H.

1 RHEDWN ar frys, mawr ydyw'r fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint;
Er maint yw'r llid, par'toed eu lle
Yn mynwes Naf o fewn i'r ne'.

2 Anialwch mawr mi ddaethum trwy,
Paham y digalonaf mwy?
Yr Hwn a'm nerthodd hyd yn hyn
A'm dwg i'r lan i Seion fryn.

3 Mi af yn mlaen, er pelled yw,
I'r wlad 'r wyf am fyn'd iddi i fyw;
O'r diwedd tiria'm henaid gwan
O ddyfnder moroedd mawr i'r lan. Amen.

## 389

M. H.

1 PERERIN wyf mewn anial dir,
Sychedig am gysuron gwir;
Yn crwydro f'amser a llesgau
O hiraeth eisiau dy fwynhau.

2 Ymdeithydd wyf yn awr o hyd
Mewn maith a thrallodedig fyd;
Nid *yma mae fy* nghartre'n wir—
*'Rwy'n teithio* tua Salem bur.

3 O deuwch oriau, tyred ddydd,
I'm henaid gwan gael myn'd yn rhydd;
Carcharor wyf mewn anial wlad,
Yn dysgwyl beunydd am ryddhâd.

4 Haul y Cyfiawnder dysglaer, cu,
Tywyna trwy bob cwmwl du;
O dan dy esgyll Dwyfol mae
Y balm o Gilead sy'n iachau. Amen.

# 390 M. S.

ER bod ein rhan, tra ar y llawr,
Mewn cystudd mawr yn dygwydd;
Fe chwâl y nos, cawn awyr glir,
A bore o wir lawenydd.

2 Gwir yw mai sych yw Baca fro,
A blin yw teithio'i lwybrau,
Ond pan y cloddiom, yn y fan
Daw gwlaw i lanw'r llynau.

3 Rhedwn am hyn yr yrfa hon,
Gan syllu'n llon ar Iesu,
Amynedd caed ei pherffaith waith—
Mae pen ein taith yn nesu.

4 O nerth i nerth, o bant i fryn,
*Nes gorphen* glyn trallodion,
*Ac uno* â'r côr sy'n llawenhau
*Ar nefol* fryniau Seion.

5 Cawn yno rodio glanau clir
Hen afon bur y bywyd,
A drachtio'i dyfroedd dibrin, da,
Mewn hirfaith dragwyddolfyd.

6 Cawn uno mewn soniarus lef,
Nes dadsain nef y nefoedd;
"Teilwng yw'r Oen" yw'r anthem bur
A genir yn oesoesoedd. Amen.

## 391 M. B.

1 CAF fanna o'r nef i lawr
Ar doriad gwawr y dydd,
Yn fara i'm cynnal, gyda gwlith
A bendith Duw y bydd;

2 Hen afon gras a red
Ar led yr anial maith;
Y rhai'n a'm cynnal yn ddi-ball
Yn ddiwall ar fy nhaith.

3 Trwy yr Iorddonen gref
I'r nef fe'm dwg o'i ras,
Yn iach ddiangol byth uwchben
Fy hen elynion cas;

4 I ganu gyda'r saint,
Sydd fawr eu braint a'u bri,
*Yn moli'r Oen* a'i ryfedd râd
*A chariad* UN a THRI. Amen.

## 392 M. N. 6. 6. 4.

1 GWNES addunedau fil
I gadw'r llwybr cul,
Ond methu 'rwy';
Breswylydd mawr y berth
'Chwanega eto'm nerth
I ddringo'r creigiau serth
Heb flino mwy

2 Yn teithio Baca 'rwy',
Gan orfod myned trwy
Anialwch blin:
Edrychaf tua'r nef,
Cyfodaf yno'm llef,
At Dduw—fe ddichon Ef
Droi Mara'n win.

3 Fe'm daliodd ar fy nhaith
Er ofni lawer gwaith
Mai marw wnawn
Er hyny byw trwy ffydd,
A gras am ras bob dydd,
A nerthodd f'enaid prudd
O Ddwyfol ddawn!

4 Ni gerddwn tua'r wlad
Bwrcasodd Dwyfol Waed,
Y mae gerllaw,
Arweinia'r golofn dân
Trwy foroedd maith ni'n
Ac ni gawn seinio cân
Yr ochor draw. Ame

93 M. N. 8au. 8llin.

'RWY'N tynu tuag ochor y dwr,
  Bron gado yr anial yn lân;
Mi glywais am goncwest y Gwr
  A rydiodd yr afon o'm blaen:
Fe dreiglodd y maen oedd tan sel,
  Fe gododd y Cadarn, i'r lan;
Mi a'i caraf Ef deued a ddel—
  Mae gobaith i'r truan a'r gwan.

Mi garaf f'Anwylyd o hyd,
  Fy Mhrynwr, fy Mhriod, a'm Pen,
O'r diwedd fe sugnodd fy mryd
  O'r ddaear i'r nefoedd uwch ben;
Gwyn fyd pe gorweddwn yn awr
  Yn llonydd yn ngwaelod fy medd,
Mi godwn ar doriad y wawr
  Yn fuan i weled ei wedd.

'Rwy'n teimlo gwir hiraeth bob dydd
  Am ddatod fy mhabell o'i lle,
A myn'd, fel aderyn, yn rhydd,
  Yn union i ganol y ne';
Ac esgyn mewn yno i blith
  Y dorf sydd a'u gwisgoedd yn wyn,
A chanu i'm HARGLWYDD i byth
  Fu farw ar Galfari fryn. Amen.

94 M. N. 8au. 8llin.

FY *enaid sychedig* i sydd,
  *Wrth deithio* dros fryniau mor faith,

Yn dysgwyl yn dawel bob dydd
 I gwrddyd â diwedd fy nhaith;
Fel darffo fy ngofid a' ngwae,
 Fy nhrallod, fy mlinder, a'mhoen
A dechreu'm gorfoledd di-drai—
 Caniadau tragwyddol i'r Oen.

2 Dwy aden fel c'lomen, pe cawn,
 Mi grwydrwn, ehedwn yn mhell;
I gopa bryn Nebo mi awn
 I weled ardaloedd sydd well:
A'm golwg tu arall i'r dwr,
 Mi dreuliwn fy nyddiau i ben
I garu a chanmol y Gwr
 Yr hoeliwyd ei ddwylaw ar bren. An

## 395 M. N. 7. 4.

1 TEITHIO'R wyf fynyddau maith,
 Dyrys anial,
A gelynion ar fy nhaith
 Yn fy atal;
Ond mi wela'r hyfryd wlad
 Trwy'r ehangder,
Ac i mewn i dŷ fy Nhad
 Af ar fyrder.

2 Mi gaf goncwest yno'n lân
 Ar elynion—
Nwydau oedd yn curo o'r blaen
 *Arna*'i'n gyson:
*Ni ddaw* pechod o un rhyw
 *Fyth* i'm blino,

Na'r temptasiwn goreu'i liw
I mewn yno. Amen.

## 396 M. N. 7. 4.

1 NID am byth mae cario'r groes,
Daw dihangfa;
Derfydd tywyll oriau'r nos,
Dydd a wawria:
Er bod 'chydig ar y llawr
Yn y cystudd;
Draw mae tragwyddoldeb mawr
O lawenydd.

2 Derfydd imi rodio'r glyn,
Derfydd wylo,
Derfydd teithio'r anial hyn,
Derfydd temptio;
Af i mewn i'm tawel nyth—
Ni ddaw yno
Elyn na gorthrymder byth
I fy mlino. Amen.

## 397 M. N. 7. 6.

1 'RWYF yma dan y tònau
Yn gruddfan lawer awr,
Yn ofni colli 'ngolwg
Ar y Messiah mawr:
Ar fyr daw dydd caf nofio
I mewn i'm tawel hedd;
Ni *cholla'i'ngolwg* arno
*Yr ochor draw* i'r bedd.

2 Fe dderfydd sôn am ryfel,
Fe dderfydd cario'r groes,
Fe dderfydd dyddiau galar,
Fe dderfydd tywell nos:
Fe dderfydd temptasiynau,
Fe dderfydd dyddiau gwae,
Fe dderfydd tywallt dagrau,
Daw amser llawenhau.

3 Mae f'enaid yn hiraethu
Am gael fy rhoddi'n rhydd,
A myned at fy mrodyr
Sydd wedi cael y dydd:
Ar ddysglaer wedd fy Mhriod,
Heb drallod, briw, na phoen;
Lle pery'r gân yn beraidd
Am rinwedd gwaed yr Oen. Amen.

## 398 M. N. 7. 6.

1 'RWY'N llefain o'r anialwch
Am byrth fy ninas wiw;
Ierusalem fy nghartref,
Ierusalem fy Nuw!
Pa bryd y caiff fy llygad,
Pa bryd y caiff fy mhen,
Ymagor ac ymorphwys
Yn mro Caersalem wen.

2 Gad imi fara'r bywyd,
*Gad* imi'r dyfroedd byw,
*Ar ddeheu*-law fy Mhrynwr
*Yn ninas* wen fy Nuw!

'Rwy'n sefyll ac yn curo,
O agor dithau'r ddor!
Am Sabboth ac am deml
Ierusalem fy IOR!

3 'Rwy'n trigo ar y ddaear,
Gan edrych ar y wawr,
A dysgwyl am ddisgyniad
Ierusalem i lawr;
Wrth wel'd y nef yn gwenu
Ar ael y cwmwl draw,
'Rwy'n credu ac yn canu
Ierusalem a ddaw.

4 Er dalled yw fy ngolwg,
Er trymed yw fy nghlyw,
Mi welaf mewn addewid—
Ierusalem fy NUW!
Mi welaf deml Seion,
Mi glywaf Iubili,
Mi welaf ddinas sanctaidd,
Ierusalem yw hi! Amen.

## 399 M. N. 7. 6.

1 WRTH forio rhwng y tònau,
'Rwy'n ofni lawer pryd
Mai'r dyfnder fydd fy nhrigfa
Ar ol fy ngwaith i gyd:
Er hyn 'rwy'n penderfynu
I forio yn y bla'n,
*Os boddi wnaf,* mi foddaf
*Yn ymyl Salem* lân.

2 Mae torf ddi-rif yn canu
O fewn i Salem fawr:
Mi ganaf finau ronyn
Tra fyddwyf ar y llawr;
Pan ddelo'r lluoedd adre
O gyrau pell y byd—
O! dyna bryd bydd canu
Nes synu'r nef i gyd. Amen.

## 400 M. N. 7. 6.

1 OS dof fi trwy'r anialwch,
Rhyfeddaf byth dy ras,
A'm henaid i ddyogelwch
'Nol ganwaith golli'r maes,
A'r maglau wedi'u tori,
A'm traed yn gwbwl rydd,
Os gwelir fi fel hyny,
Tragwyddol foli'fydd.

2 Os gwelir fi bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith,
Yn seinio buddugoliaeth
Am iachawdwriaeth lawn,
Heb ofni colli'r frwydyr
Y bore na'r prydnawn.

3 Fe genir ac fe genir
*Yn nhragwyddoldeb maith,*
*Os gwelir* un pererin
*Mor llesg* ar ben ei daith,

A gurwyd mewn tymhestloedd,
  A olchwyd yn y gwaed,
A gànwyd ac a gadwyd
  Trwy'r iachawdwriaeth rad. Amen.

---

# X.—Y Nefoedd.

---

01 M. N. 8. 7. 4.

1 ALELUIAH! yr anwylaf
  O ber odlau pur y nef;
ALELUIAH! 'r don felysaf
  Genir âg angylaidd lef:—
    Hyn yw adsain
Swn telynau aur y nef.

2 ALELUIAH, mewn gorfoledd
  Medd yr Eglwys ddedwydd fry;
ALELUIAH, byth heb ddiwedd,
  Dyrchwch fawl, chwi saint, yn hy;
    Ninau gaethion,
Pryd cawn ganu gyda chwi?

3 ALELUIAH, can dedwyddwch,
  Nid yw gymhwys ar y llawr;
ALELUIAH, ochain tristwch
  Sydd fwy gweddus ini 'nawr,
    *Pan yn dyoddef*
*Dan drwm bwys* ein cystudd mawr.

4 Ond ein gweddi daer fydd mwyach,
Dirion Dad, tu yma i'r bedd,
Ar in' gael dy bur gyfeillach,
A gwir olwg ar dy wedd:
Aleluiah
Wedi'n canwn byth mewn hedd. Ame

## 402 M. N. 8. 7. 4.

1 DECHREU canu, dechreu canmol,
Yn mhen mil o oesoedd maith,
Iesu, bydd y pererinion
Hyfryd, draw ar ben eu taith:
Ni bydd diwedd
Byth ar swn y delyn aur.

2 Nid oes yno ddiwedd canu,
Nid oes yno ddiwedd clod,
Nid oes yno ddiwedd cofio
Pob cystuddiau fu erioed:
Byth ni dderfydd
Canmol Duw yn nhŷ fy Nhad.

3 Yno caf fi dd'weyd yr hanes,
P'odd y dringodd eiddil gwan
Trwy afonydd a thros greigiau,
Dyrys anial serth i'r lan:
Iesu ei hunan
Gaiff y clod trwy eitha'r nef. Amen.

## 403 M. N. 8. 7. 4.

1 NID oes gofid nid oes terfysg,
Nid oes achwyn o un rhyw,

Nid oes poen ac nid oes galar
O fewn dinas bur fy Nuw:
Cariad perffaith
Yno sydd yn llenwi'r lle.

2 Nid oes yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad;
Cofio'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed:
Darfu ofni,
Daeth llawenydd yn ei le.

3 Yno mae fy holl drysorau,
A fy nhlysau gwych eu rhyw;
Yno mae f'addfwynaf Iesu,
Yno mae fy Nhad yn byw:
O ardaloedd!
Yno mi gaf finau dd'od. Amen.

## 04 M. C.

1 'RWYN sefyll ar dymhestlog lan
Yr hen Iorddonen ddu,
Gan syllu'n ddwys, mewn hiraeth clau,
Ar fryniau'r Ganaan fry.

2 'Rwy'n tybio gwelaf eil-liw gwan
O'i glanau bythol wyrdd,
Lle'r hongia sypiau grawnwin pur
Ar goed anfarwol fyrdd.

3 Ni *theimlir yno chwerw* loes,
*A marw ni bydd* mwy;

Awelon peraidd, balmaidd, byw,
Sy'n treiddio'r ardal trwy.

4 Ac yno y mwynheir, heb nos,
Un anfachludol ddydd,
Heb haul na lloer—ond Duw ei hun
Ei dysglaer haul a fydd.

5 O ardal hyfryd, lle ni ddaw
Un gofid byth nac aeth;
Lle ffrydia perffaith wynfyd pur
Fel llif o fêl a llaeth! Amen.

## 405 M. C.

1 MAE'N hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
Ar ol ein holl flinderau dwys,
Cawn orphwys yn y ne'.

2 Pan ar ddiffygio gan y daith,
A lludded maith y lle,
Mor hoff yw gwybod—wedi hyn
Cawn orphwys yn y ne'.

3 'Nol teimlo archoll llawer saeth,
A phrofedigaeth gref,
A dyoddef gwres y dydd a'i bwys,
Cawn orphwys yn y nef.

4 Er colli ein cyfeillion hoff
Yn yr Iorddonen gref,
Mae'n felys meddwl—eto 'nghyd
Cawn gwrddyd yn y nef.

wyser ni drwy'r YSPRYD GLÂN,
rasol ddoniau Ef,
ılom, fel t'wysenau llawn,
addfed iawn i'r nef. Amen.

M. C.

ı brodyr imi aeth yn mlaen,
ı holliach a chytun;
mil o filoedd yw eu cân,
hyn nid yw ond un.

holl dduwiolion yno 'nghyd
gogledd, de, heb ri',
oll gadwynau'n chwilfriw mân,
cân am Galfari.

pawb o'r brodyr yno'n un,
ı neb yn tynu'n groes,
oli'r Duwdod yn y dyn,
hofio'i angeu loes.

ımlir yno unrhyw boen,
chwyno gan un clwy',
ıawb mewn hwyl yn moli'r Oen,
:agwyddoldeb mwy. Amen.

M. N. 8au. 8ll.

LION, Seraphiaid, a Saint
h ganu'n soniarus yn nghyd,
*ain sydd cyfuwch* ei faint,
*crynu'r holl* nefoedd i gyd:

Neb yno yn glaiar ei gan,
Neb yno'n addoli mewn rhith;
A'u c'lonau yn llosgi fel tân,
A gwynfyd a f'ai yn eu plith.

2 Caniadau newyddion sy fry,
Tebygwn y clywwn eu llef;
Fy enaid blinedig i sy
Am ddysgu cerddoriaeth y nef:
'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clod,
A'r parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awr hon, fel yr oedd erioed,
I'n HARGLWYDD yn UN ac yn DRI.

3 'Does mesur amseroedd byth fry,
Dim oriau cyffelyb i'r byd;
Myn'd heibio rhyw oesoedd y sy,
Wrth ganu i'r DRINDOD yn nghyd:
'R holl nefoedd, wrth weled ei ras
Sy'n synu, yn canu'n fwy hŷ'
Ganiadau newyddion eu blas:
Wel, dyma'r digrifwch sy fry. Amen

## 408 M. 8.

1 OS yw'n gofidiau yn y byd,
I bara hyd y diwedd:
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

2 *Po* fwyaf gawn o wres y dydd,
*M*wy yno fydd ein moliant;

Cawn yn lle'n cystudd byr, a'n crwys,
Dragwyddol bwys gogoniant.

3 Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant IEHOFAH.

4 Po fwyaf fo'u cyfyngder hwy,
Bydd fwyfwy eu cysuron;
Eu hedd, melysach na'r dil mêl,
A lifa fel yr afon. Amen.

## 409 M. N. 8. 7. D.

1 NID oes terfyn ar flynyddau,
Yn y wlad a welaf draw,
Nid yw myrdd o oesoedd hirion
Yno'n unig ond lled llaw:
Sylwedd ydyw'r oll sy'n dyfod,
'R oll sy'n dyfod sy'n parhau,
Pethau gwych heb eu cymmysgu
Gaf ar fyrder eu mwynhau.

2 Yno llenwir fy nymuniad,
Er ei faint ac er ei gri;
Fy holl wagter wneir i fyny
Gyda'r Duwdod UN yn DRI·
Mi gaf yfed o ffynhonau
Pleser, a fy llawenhau
A *datguddiad pur o fywyd,*
*Sy'n dragwyddol* i barhau.

3 Ac ni fydd mo dragwyddoldeb
Ddim yn ormod, er ei hyd,
I ddatguddio hen ddyfnderoedd
Cariad Iesu maes i gyd:
Holl rinweddau maith ei glwyfau,
Poenau'r hoelion meinion, llym,
Wnant i oesoedd fyned heibio
Heb eu gwel'd ond megys dim. Ai

## 410 M. N. 8. 7. D.

1 MILOEDD sydd yn canu'n beraidd
Fry oddeutu'r orsedd lân,
Fuont yma rhwng y tònau'n
Ofni'r aent yn ddrylliau mân;
Daliwyd hwy er maint eu hofn
Yn yr afon ddofn, ddu;
'Nawr o flaen y drugareddfa
Maent heb boen yn canu fry.

2 Dedwydd fydd tragwyddol orphwys
O bob llafur yn y man,
'Nghanol môr o ryfeddodau,
Heb ddim gwaelod byth na glàn;
Caffael mwy fynediad helaeth
I drigfanau Tri yn Un;
Dwr i nofio heb fyn'd trwyddo,
Dyn yn Dduw a Duw yn ddyn.

3 *Byw heb* wres na haul yn taraw,
*Byw* heb ofni marw mwy;

ob rhyw alar wedi darfod,
Dim ond canu am farwol glwy';
ofio'n afon bur y bywyd,
Bythol heddwch sanctaidd Dri,
an d'wyniadau di-gymylau
Gwerthfawr angeu Calfari. Amen.

M. H.

phiol yma sydd yn llawn
O ddyfroedd Mara chwerwon iawn;
. gofid yn y nefol dir
ncir gan lawenydd pur.

w cariad yma'n uchaf man
. megys rhyw ddymuniad gwan:
. y wreichionen leiaf sy
wenfflam yn y nefoedd fry.

fydd sy'n ffaelu gwel'd yn glir,
. yno try yn olwg bur:
ıgobaith am y nefol wlad
ncir yno mewn mwynhâd.

w friwsion yw fy rhan yn awr,
yno gwledd dragwyddol fawr;
nawl sydd yma'n oer a syth,
ganaf fry heb flino byth.

godau'r hwyr yn taenu sy,
pant ffwrdd yn Seion fry;
lèn *y caf ei weled* Ef
*eb yn wyneb* yn y nef. Amen.

# 412

M. H.

1 MAE gwlad o wynfyd pur heb haint,
Byth yno y teyrnasa'r saint,
Lle nid oes tywell nos, ond dydd,
A phleser heb ddim blinder sydd.

2 Mae yno yn dragwyddol haf,
Ni wywa byth mo'i blodau braf:
Ond angeu megys môr y sy,
Rhyngom a'r wlad nefolaidd fry.

3 O am gael ffydd i ymlid ffwrdd
Y cul amheuon sy'n ein cwrdd,
A gallu gwel'd, â golwg glir,
Drigfanau dedwydd Canaan dir.

4 Fel Moses gynt pe dringem ni,
A gwel'd y wlad a'i hansawdd hi;
Nid oer lifeiriant angeu caeth
A darfai'n traed oddiwrth y traeth. Am

# 413

M. H.

1 DY heddwch, IOR, a gwel'd dy wedd,
Yw'm cysur mwyaf hyd y bedd;
Ond gwell fydd im' gartrefu'n llon
Yn nef y nefoedd ger dy fron.

2 Os hoff yw bod o fewn dy Dŷ,
Mae pleser gwell yn d'Eglwys fry:
Dafnau gorfoledd yma gawn,
Cawn yno fôr gorfoledd llawn.

Os hyfryd yw, mewn anial wlad,
Cael trem o bell ar Dŷ fy Nhad;
Hyfrytach fydd yn llys y nef
Gymdeithas agos, hoff âg Ef.

Hiraethu 'rwyf am gael fy nwyn
Ar aden gref rhyw angel mwyn,
Ar frys i blith y siriol lu
O frodyr a chwiorydd fry;

Rhai sydd â mawl fyth ar eu min,
Heb unrhyw bla na phechod blin,
Ar ddelw hardd eu Prynwr mawr
Mewn gwisgoedd fel goleuni'r wawr. Amen.

## 14 M. N. 7au. 4ll.

DRAW yn yr ehangder mawr,
 Fry yn mhell o'r ddaear hon,
Dinas Seion, wiwlon wawr,
 Sy'n dyrchafu ei thyrau llon.

Mae 'i chynteddau heirdd i gyd,
 O goethedig aur dilyth,
Wedi eu haddurno â drud
 Berlau gwych na lygrant byth.

Yno'n cydfoliannu'r Oen
 Trig y gwynfydedig rai;
Lle ni theimlant gur na phoen,
 Ond dedwyddwch pur, didrai.

O ysprydoedd perffaith, pûr!
 *Hed'soch chwi i'r lle na ddaw*

4 O! gwyn fyd na fedrwn ddringad
Haner gynted a'm dymuniad;
Mi awn gyda'r awel hyfryd
Maes o'r byd i dir bywyd. Amen.

## 418 M. C.

1 MI welaf gyrau'r hyfryd wlad
Trwy darth a niwl y glyn;
A Haul Cyfiawnder yn ei nerth
Yn t'wynu ar bob bryn.

2 Mae afon bur o ddyfroedd byw,
Fel grisial gloew clir,
Yn dod o orsedd Duw a'r Oen,
I ddwfwrhau ei thir.

3 Ac ar ei glanau tyfa pren
Y bywyd, Dwyfol, hardd;
Anfeidrol well na hwnw oedd
Yn tyfu yn Eden ardd.

4 Yr Oen a laddwyd ydyw'r haul,
Ei wedd yw'r afon fyw,
A phren y bywyd mawr ei rin,
Efe ei Hunan yw.

5 Pob melldith mwyach byth ni bydd,
Na thrallod gwae na phoen;
Nac angeu chwaith ni ddaw i wlad
Gorseddfainc Duw a'r Oen.

6 Awn, awn tan ganu tua'r wlad,
Awn, a meddiannwn hi;

'orir imi yno
w amrywiaeth maith heb ri,
rgelion, na ddeallir
ddyw, ar ein daear ni:
d rhad yn y TAD
ıtguddiwyd yn y gwaed.

nlygir rhyw ogoniant
ddeallodd calon dyn,
r iachawdwriaeth eang—
fais Duwdod mawr ei Hun:
llawr, neb yn awr
l ddal fath bethau mawr.

ıwn yno wel'd ein Prynwr
ıwn gogoniant llawer mwy
ei gwelwyd ar y croesbren,
n yn dyoddef marwol glwy':
dda'n llon ger ei fron,
ı pan losgo'r ddaear hon. Amen.

M. N. 8. 7. 8.

LE'R Oen ar fynydd Seion,
'Nawr â'i weision gydag Ef;
n maent Enw'u TAD a'u HARGLWYDD—
ma arwydd Brenhin nef:
'r llu sanctaidd sy'n
ıio tua Salem fry.

*ır mil a saith* ugeinmil—
*na lu ofnadwy* iawn,

Oll yn canu eu telynau
O foreuddydd hyd brydnawn:
Uchel lef gadarn gref
Yn moliannu Brenhin nef.

3 Newydd byth a fydd eu hanthem,
Cân briodol iddynt hwy;
Ger bron nefoedd a'r orseddfainc,
Canant am ei farwol glwy':
'N llon eu llef, groew gref,
Oll ddywedant, "Iddo Ef." Amen.

# 423 M. N. 7. 6.

1 O! GWYNFYD fyth y rhei'ny
Sy'n awr ar ben y bryn,
Yn gwel'd yn fil eglurach
Na ni yr amser hyn:
O bell 'rwyf finau'n edrych
Trwy 'spienddrych tywyll, du,
A braidd 'rwyf yn amgyffred
Dim o'r gogoniant fry.

2 Gwyn-fyd y rhai ddihangodd
O gystudd mawr y byd;
Fy enaid sydd yn gruddfan
Wrth wel'd y dyddiau cy'd;
Caf gyflawn fuddugoliaeth
Ar bechod a phob pla,
A byw byth yn y teulu
Sy'n moli'r Iesu da.

3 *Bydd* melys fy myfyrdod
*Wrth* feddwl am y dydd

Caf dirio 'nhir y bywyd
O'm holl gadwynau'n rhydd:
'Does yno ddim wylofain,
Na phechod blin na phoen,
Ond caru a rhyfeddu
Y croeshoeliedig Oen. Amen.

## 24 M. N. 8. 7.

MELYS mewn anialwch dyrys
Ambell drem ar fro y wlad
Roddwydd imi gan fy Ngheidwad,
Yn dragwyddol annedd rad.

Adsain ber y gân ddiddarfod,
Golwg ar y bryniau draw,
Wna fy enaid llesg yn llawen,
Ymlid ymaith bob rhyw fraw.

Draw i afon dònog angeu,
Gwelaf gyrau'r nefol dir;
Clywaf sain ei delynorion,
Araf swn afonydd pur.

Yno gofid a ddiflana,
Drygau hefyd o bob rhyw:
O am dd'od i'r ardal hyfryd,
Lle nad oes na phoen na briw! Amen.

## 25 M. N. 6. 8.

MAE *lluoedd maith* yn mlaen,
*'Nawr o'u carcharau'n* rhydd;

A gorfoleddu maen',
Oll wedi cael y dydd:
I'r lan i'r lan diangsant hwy--
Yn ol eu traed y sangwn mwy.

2 Gadawn y byd ar ol,
Y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd bob dydd
Yn ceisio'n llwfwrhau:
Ni welwn wlad rhwng ser y nef
Sydd fil o weithau'n well nag ef.

3 Cawn wel'd yr addfwyn Oen,
Fu farw ar y bryn,
Yn medi ffrwyth ei boen,
Yn hyfryd y pryd hyn:
Bydd myrdd heb rif yn canu 'nghyd
I'r Hwn fu farw dros y byd. Amen.

## 426 M. N. 6. 8.

1 CAERSALEM, dinas hedd,
O na bawn yno'n byw!
O hyd cawn weled gwedd,
A llewyrch wyneb Duw:
Mae weithiau'n dywyll arna' i'n awr—
Fy haul nid â byth yno i lawr

Caf wel'd f'Anwylyd cu
Pan elwyf draw i dre',
Yr Hwn o'i gariad fu
*Yn dyoddef yn fy lle:*
*Caf weled* IESU—digon yw,
*Mae'r Oen* a laddwyd eto'n fyw.

Nesau mae'r hyfryd ddydd
Caf seinio'r newydd gân,
Ar ol caethiwed maith,
Am waredigaeth lân,
Yn mysg y llu sydd fel y wawr,
Yn mhell o wlad y cystudd mawr. Amen.

## 27 M. N. 6. 8. 4.

YN eithaf grym y dwr,
A'r tònau'n curo lawr,
Tywysog nefoedd yw fy Nhwr,
A'm Ceidwad mawr;
Fe ddeil fy mhen i'r lan,
Can's nerth i'r gwan yw Ef;
Fe'm dwg o'm cystudd yn y man,
I deyrnas nef.

Am fod yr IESU'n fyw,
Byw hefyd fydd ei saint,
Er gorfod goddef poen a briw—
Mawr yw eu braint!
Bydd melys glanio draw,
'R ol bod o dòn i dòn,
Ac mi rof ffarwel maes o law
I'r ddaear hon.

Fe geidw'r eiddo Ef,
Dyogel fydd eu braint;
Rhydd wisgoedd glân a thlysau'r nef
I'w siriol *saint*:
*O ffrydiau'r gwynfyd* gwiw,
*A llwyni heirdd* y wlad,

A ffrwythau per paradwys Duw
Cânt wir fwynhâd. Amen.

## 428 M. N. 6. 8. 4.

1 DUW Abra'm, molwch Ef,
Goruchaf Frenhin gwiw,
A hen Ddihenydd mawr y nef:
Duw, cariad yw!
Anfeidrol, nefol Naf,
Medd lluoedd nef a llawr;
Ymgrymu a bendithio wnaf
Ei Enw mawr.

2 Ger bron yr Un yn Dri
Clodforant am y gwaed,
A rhyfeddodau Calfari,
Yn nhir eu gwlad:
A lluoedd rif y gwlith,
Trwy nef a daear lawr,
A chwyddant sain y gân dros fyth
I'r Enw mawr.

3 Ger bron Iachawdwr byd,
Mae gwaredigion gras
Yn moli, a mwynhau o hyd
Ryw newydd flas!
Pan ddengys ol ei boen,
*Fe'u* rhoir ar dân i gyd,
*Nes seiniant* fawl i Dduw a'r Oen
*Trwy'r* nefol fyd

4 Mewn buddugoliaeth, cân
Y ddedwydd dorf bob un,
I'r TAD a'r MAB a'r YSPRYD GLÂN,
Byth yn gytun.
O henffych IOR dilyth!
Clodforwn gyda hwy
DDUW Abraham a ninau, byth,
Heb dewi mwy. Amen.

## 429 M. N. 9. 8.

1 O FRYNIAU Caersalem ceir gweled
Holl daith yr anialwch i gyd;
Pryd hyny daw troion yr yrfa
Yn felys i lanw ein bryd;
Cawn edrych ar 'stormydd ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd, a'r bedd,
A ninau'n ddihangol o'u cyrhaedd
Yn nofio mewn cariad a hedd!

2 Cawn esgyn o'r dyrys anialwch
I'r beraidd Baradwys i fyw;
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys
Yn dawel, ar fynwes ein Duw.
Dihangfa dragwyddol geir yno
Ar bechod, cystuddiau, a phoen,
A gwledda, i oesoedd diderfyn,
Ar gariad annhraethol yr Oen. Amen.

## 430 M. N. 9. 8.

1 O *SALEM! fy* anwyl gartrefle,
*Mae'th enw'r* pereiddiaf erioed;

'Bryd derfydd fy llafur a'm lludded,
O'th fewn mewn llawenydd a chlod?
Pa bryd caiff fy llygad i weled
Dy byrth sydd o berlau mor ddrud,
A'th eurwych heolydd glân, dysglaer,
A'th furiau sy'n sefyll o hyd?

2 O drigfan deg, dawel, a dedwydd,
'Rwy'n cyrchu yn ddyfal i'th gôl;
Yn fuan fe'm gwelir i drosodd,
A'r gwyntoedd ystormus ar ol;
Paham y mae cystudd neu adfyd,
Neu angeu, yn peri'r fath fraw?
Mae'r tir addawedig mewn golwg,
Mae'r Ganaan dragwyddol gerllaw.

3 Mae yno gantorion ardderchog,
A'u Ceidwad yw sylwedd eu sain,
A'm brodyr sydd yma gânt esgyn
Yn fuan i ganol y rhai'n:
O Salem! fy nghartref anwylaf,
I'th fewn mae fy enaid am dd'od,
Ac yno fy llafur y dderfydd
Mewn cân orfoleddus a chlod. Amen.

# HYMNAU ACHLYSUROL.

## I.—Bedydd.

### 431 M. S.

1 WELE y dwr i olchi'n rhad,
Ac wele caed y ffynnon;
Rhyfeddol rîn ei dwr wrth raid,
I bechaduriaid mawrion.

2 Fe olcha hon yr Ethiop du,
Er llygru'n llwyr ei galon;
Ac am ei rhîn y cân ryw ddydd,
Yn lân ar fynydd Seion.

3 Mae yma iechyd a glanhàd
I bawb, yn rhad, a ddelo;
Gras mewn addewid hyfryd hwyl
I bawb a ddysgwyl wrtho.

4 Marw i bechod brwnt a bâr
Mae pawb a gâr ei olchi;
Ac er caethiwed pechod cas,
Trwy ras mae'n adgyfodi. Amen.

### 432 M. H.

1 AGORWYD *ffynnon* ar y bryn
*I olchi'r duaf* gaed yn wyn;

Yn rhad mae'n golchi pawb a ddel:
O cân, fy enaid gwan, a gwel.

2 Am hyn nesewch, mae Iesu 'n gwa'dd,
Dewch bechaduriaid o bob gradd;
Dewch â'ch babanod gyda chwi,
Agorwyd ffordd ar Galfari.

3 Mae modd eu golchi yn y gwaed,
A rhoddi i'r baban gwan iachâd;
Wele y ffynnon fawr, a'r sel:
Am olchi, f'enaid cân a gwel.

4 Am ras i gyd y melys cân
Rhyw dyrfa wedi'u golchi'n lân,
Oddiwrth holl niweid Eden ardd,
Fry yn Nghaersalem fawr yn hardd. An

# 433 M. H.

1 DERBYNIWYD gynt gan Fab y Dyn
Blant bach i'w freichiau Ef ei Hun;
Ac "Na waherddwch hwynt," medd Ef,
"Can's eiddynt hwy yw teyrnas nef."

2 O na ryfygwn ninau'n awr
I wrthod sampl Iesu mawr!
Pwy gauai ddrws ei Eglwys Ef,
A'r Iesu 'n agor drws y nef?

3 O oes i oes bu'r saint a'u hâd
Yn ddeiliaid y cyfammod rhâd;
*Babanod* ieuainc llesg eu llef
*Ynt 'nawr* yn ddeiliaid teyrnas nef. A

# 434 M. B.

1 "AELODAU i Grist" ŷm ni,
Efe yw'n bywiol Ben;—
Danfonodd y Dyddanydd glân
I'n harwain tua'r nen.

2 A "phlant i Dduw" ŷm ni;
Ei ras i ni rôdd Ef
I'w alw, yn ngeiriau Crist, "Ein Tad
Yr Hwn wyt yn y nef."

3 "'Tifeddion" ydym ni
O'i dŷ a'i deyrnas rad;
Ond ofnwn bawb rhag bod yn ol
O wir orphwysfa'n Tad.

4 Arwyddwyd ni â'r groes,
Fel na ddirmygem hon;
Nes cael y goron ddydd a ddaw,
Uwchlaw pob braw i'n bron.

5 Na charwn bechod mwy,
Tra byddom îs y rhod:
Ond parchwn Enw Crist ein Pen,
A rhodiwn er ei glod. Amen.

# II.—Conffirmasiwn.*

## 435 M. H.

1 CYSEGRWN flaenffrwyth dddyddiau'n
I garu'r Hwn fu ar y groes;
Mae mwy o bleser yn ei waith,
Na dim a fedd y ddaear faith.

Cael bod yn fore dan yr iau,
Sydd ganmil gwell na phleser gau:
Mae ffyrdd doethineb oll i gyd
Yn gysur ac yn hedd o hyd.

3 Y plant a wasanaethont Grist
Gânt ddianc byth rhag uffern drist;
Mae myrdd o ie'nctyd yn y nef
Yn berlau yn ei goron Ef.

4 O! am gael treulio yn ddigoll
O dan iau Crist fy mywyd oll;
Mae'r Hwn fu farw ar y groes
Yn deilwng o bob awr o'm hoes. Am

---

*Rhai o'r *Hymnau* ar y "Sul ar ol y Dyrc a'r "*Sulgwyn*," yn addas i'w canu ar yr achlys

# [I.—Swper yr Arglwydd.*

:6 M. S.

WEL dyma wledd, gwledd Duw ein Ion,
O basgedigion breision;
. gwin puredig yn ddidrai,
I lawenhau y cleifion.

'n'd gwledd yw hon, gyfoethog, hael?
Does diwedd gael mo honi;
' pwy na ddaw yn mlaen yn rhwydd,
I wledd yr Arglwydd Iesu?

awn fwyta'i gnawd (O dyma rad!)
Ac yfed gwaed yr Iesu;
odd gall ein c'lonau ni bob rhai
'N dragwyddol lai na'i garu?

gnawd a'i waed sydd ymborth pur
'r nefol natur newydd;
sawl a'i bwyty a fydd byw
ry gyd â Duw 'n dragywydd.

ofiaf eiriau'm Harglwydd hael
hwyr cyn cael ei hoelio;
ta'i swper minau ddof
mlaen, er cof am dano. Amen.

w *o'r Hymnau yn Adran VII., a'r "Wylnos
" yn addas i'w canu ac yr achlysur hwn.*

Y 2

## 437 M. S.

1 MAE'R gwaed a redodd ar y groes
O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn,
I dd'weyd yn iawn am dano.

2 Mae hynod rinwedd gwaed yr Oen,
A'i boen wrth achub enaid,
Yn seinio'n uwch ar dannau'r nef
Nag uchel lef seraphiaid.

3 'Mhen oesoedd, rif y tywod mân,
Ni fydd y gan ond dechreu;
Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud
A ddaw o hyd i'r goleu.

4 Ni thraethir maint anfeidrol werth
Ei aberth yn dragywydd;
Er treulio myrdd o oesoedd glân,
Ni bydd y gân ond newydd.

5 Pan ddelo torf y cystudd mawr
O'r anial dirfawr yno,
Dylenwir croth pob dwyfol dant
Ag uwch gogoniant iddo. Amen.

## 438 M. N. 8. 7.

1 RHO im' gofio angeu IESU
Gyda diolchiadau llawn;
[illegible] *nel derbyn* o rinweddau
[illegible]*aith ei* wir achubol Iawn;

'i gnawd trwy ffydd ysprydol—
gwaed ei galon friw:
marw yn ei heddwch—
'ath wir ddedwyddwch yw!

yn Iesu, O datguddia,
y fwrdd d'ogoniant mawr,
gynt, "wrth dori bara,"
nlyga'th Hun yn awr:
m wledd ysprydol ini
yfnerthu'n henaid gwiw:
' brofi o'r grawnsypiau
y delom yna i fyw. Amen.

M. N. 8. 7.

*Ar ol y Cymun.*

'R saint anturiais nesu
n fy maich, at Allor Duw,
i borthi'r tlawd newynog,
dd i nerthu'r egwan yw:
yno megys gyffwrdd
h drylliedig Iesu glân;
an fe doddai 'nghalon
y cwyr o flaen y tân.

esu bendigedig,
vg iawn ar waed dy groes
m toddi'r mawr galedwch
diffrwytho ddyddiau f'oes!
) *gad im'*, dirion Arglwydd,
*a marw* yn dy hedd:

Bydd Di oll yn oll i'm henaid
Yma, a thu draw i'r bedd. **Amen.**

# 440 M. H.

1 AMGYLCHWN fwrdd ein HARGLWYDD
DDUW,
Par'toad llawn o gariad yw:
Doed holl ganlynwyr CRIST yn llon,
I brofi cysur y wledd hon.

2 Wahoddedigion sanctaidd, dewch,
At fwrdd yr IESU 'n llon nesewch:
O gwelwch gariad mawr Duw nef!
Derbyniwch brawf o'i gariad Ef.

3 Doed tyrfa fawr â chalon lân,
A chalon wresog doed yn mlaen,
I fwyta ac yfed gyda Duw;
Bwyd gwerthfawr—bwyd angylaidd yw.

4 Bywhâ dy Eglwys, ARGLWYDD da,
Rhifedi'th bobl amlhâ;
O dwg i'th Dŷ y lluaws ffol
I rodio'n sanctaidd ar dy ol. **Amen.**

# 441 M. H.

1 'RYM wrth dy fwrdd, O ARGLWYDD cun,
Yn ceisio'th weled Di dy Hun:
Gwag ydyw'r bwrdd, trist ydyw'r wledd,
*Heb in'* gael gwel'd dy hyfryd wedd.

2 *Rhyfeddol yw effeithiol rin*
*Y moddion drefnaist Ti dy Hun;*

Dy gnawd yw bara'r bywyd gwir,
O'th glwyfau tardd y ddiod glir.

3 Nid yn y bara hwn na'r gwin,
Ond yn dy gnawd a'th waed mae'r rhîn;
Gad ini deimlo'th angeu drud
Yn ein dyrchafu uwch y byd.

4 Mae syched arnaf, ARGLWYDD mawr,
Am brofi'r gloew win i lawr;
Ac imi gael 'chwanegu 'ngrym,
Trwy fod Dy gnawd yn ymborth im'.

5 O anwyl IESU, tyrd i'n cwrdd,
A gwel drueiniaid wrth dy fwrdd:
Dwg ni o dwrf daearol fyd,
I wledda ar Dy fwrdd o hyd. Amen.

## 442 M. H.

1 CHWI, wir ffyddloniaid, dowch i'r wledd
A barotow'd gan Frenhin hedd:
Cymdeithas hoff, danteithion hael,
Sydd wrth ei fwrdd yn rhad i'w cael.

2 Ymborthi wnawn, trwy ffydd yn NUW,
Ar gnawd a gwaed yr IESU gwiw:
Nid oes i'r llu angylaidd llon,
Yn ngwlad yr hedd, well gwledd na hon.

3 Mor felys, ARGLWYDD, yw bob pryd,
Myfyrio ar *dy angeu* drud!
*Annghofio'r Groes* nis gallwn ni,
*Yr hon a'n gwnaeth* yn un â Thi.

4 I'th Sacrament y rhoddwn barch,
Gan gofio'th angeu Di a'th arch,
Hyd nes y cawn, mewn byd di-boen,
Gyd-wledda yn swper mawr yr Oen. Amen.

## 443 M. C.

1 YN ol ei rasol ordinhad,
At IESU 'n isel âf;
Myfyriaf ar ei gariad rhad,
A'i gynhes gofio wnaf.

2 Tydi yn marw, minau'n fyw!
Tydi â'th waed yn lli':
O Oen fy Aberth! Oen fy NUW!
Rhaid imi'th gofio Di.

3 Y corph fu drosof dan y dur,
Fydd fara i'm henaid i:
A'th waed fydd mwy fy niod bur—
Fel hyn ŷ'th gofiaf Di.

4 Caf yfed ffrwyth gwinwydden well
'Nol treiddio'r anial trwy;
Tragwyddol Sabboth fydd yr ŵyl,
A gwledd heb ddarfod mwy. Amen.

## 444 M. N. 7. 4.

1 CANED nef a daear lawr,
Fe gaed ffynnon
*I olchi* pechaduriaid mawr
Yn glaer wynion:

y ffynnon gyda hwy
finau ymolcha',
mi ganaf byth tra b'wy'
Haleluia.

Galfaria mae fy hedd
A fy mywyd,
Ii yno mae fy ngwledd
Nefol hyfryd;
o dan ei aden wiw
Byth mi lecha',
a ganaf tra f'wyf byw
Haleluia.

ıddifyraf wrth ei groes
Yn fy mlinfyd,
mi gofia'i Ddwyfol loes,
Nerth fy mywyd:
godd fi i brofi blas
Dwyfol fanna,
naf am ei ryfedd ras
Haleluia. Amen.

---

## IV.—Cenhadawl.*

M. N. 9. 8.

N miloedd ar ddarfod am danynt
hen wlad Assyria cyn hir;

*w o Hymnau "Yr Ystwyll"* yn addas i'w canu
*ysur hwn.*

Preswylwyr yr Aipht ac Ethiopia,
  At Grist, y Gwaredwr yn wir:
Cyflawnir y prophwydoliaethau,
  Daw'r holl addewidion i ben;
Fe dynir myrddiynau at Iesu
  Ddyrchafwyd rhwng daear a nen.

2 Yr holl frenhiniaethau a dreulir,
  A'r ddelw falurir i lawr;
Y gareg a leinw'r holl wledydd,
  Ei chynnydd fel mynydd fydd mawr:
Ceir gweled cenhedloedd y ddaear
  Yn dyfod o bedwar cwr byd;
Ymofyn y ffordd tua Seion
  Y bydd ei drigolion i gyd. Amen.

## 446 M. N. 9. 8.

1 DAETH blwyddyn y caethion i ganu,
  Doed meibion y gaethglud yn nghyd
Ni seiniwn trwy'r nefoedd a'r ddaear
  Ogoniant i Brynwr y byd;
Mae Brenhin y nef yn y fyddin—
  Gwae Satan a'i filwyr yn awr;
Trugaredd a hedd sy'n teyrnasu—
  Gogoniant trwy'r nefoedd a'r llawr.

2 Y llew o lwyth Iudah orchfygodd,
  Pa elyn all sefyll o'i flaen?
Mae Seion yn teithio tuag adre
  *Mewn* cerbyd dychrynllyd o dân:
*Bydd mil*oedd o saint ac angylion
  *Yn dorf* ogoneddus yn nghyd.

Yn canu rhyw anthem dragwyddol
  O foliant i Brynwr y byd. Amen.

47 M. N. 7. 6.

O GREENLAND oer-fynyddig,
  O draethau India fawr,
Lle treigla dyfroedd Affrig
  Eu tywod aur i lawr,
O lawer gwlad ddyfradwy,
  O lànau'r palmwydd gwyrdd,
Erfyniant ein cynhorthwy
  Rhag coelgrefyddau fyrdd.

Er bod mewn pell ynysoedd
  Awelon pêr yn hael,
A hyfryd eu hardaloedd,
  A dim ond dyn yn wael;
Yn ofer gwelir yno
  Fendithion Duw ar daen;
Y bobloedd yn eu dellni
  Addolant bren a maen.

A fydd i ni oleuwyd
  Trwy râd y nefoedd fry,
Nacau goleuni'r bywyd
  I'r sawl mewn t'wyllwch sy?
O seinier iachawdwriaeth
  Ar led dros ddaear lawr,
Nes dysgo pob cenhedlaeth
  Adnabod Iesu mawr.

*Chwŷth, wynt,* O chwŷth y newydd,
  *A threigled ef y* dòn,

Nes fel rhyw fôr o glodydd,
  Y llanwo'r ddaear hon:
Nes delo'r Oen fu'n gwaedu
  Dros feiau'r byd yn rhad,
Mewn mawredd i deyrnasu
  Ar bob llwyth, iaith, a gwlad.

## V.—Cynhauaf.*

448 M. N. 8. 7. 4.

1 CYD-FOLIANNWN DDUW, ein C
  Rhoddwn iddo barch a bri!
Taena drosom aden cariad,
  Ei rad rodd yw'n bywyd ni:
    Dyrchwn foliant
Am ein hymborth i DDUW nef.

2 Hawdd gallasai Duw ddystrywio
  Ffon ein bara, teg ei gwawr;
Ond y wialen a droes heibio,
  Cawsom gasglu cnwd y llawr:
    Diolch iddo
Am dymhorol ffrwythau'r maes.

3 Treulio rhoddion Duw bendigaid
  Er ei glod y b'om bob un:

*Llawer o Hymnau yn y Llyd a'r Wy
briodol i'w canu ar yr achlysur hwn.

ei ras i borthi'r enaid
ld ddyddanwch pur i ddyn—
Pur ddyddanwch
law terfyn arno byth. Amen.

M. N. 7. 6.

DAD y trugareddau
Rhown foliant oll yn nghyd
amryw ffrwythau'r ddaear,
roddwyd in' mewn pryd:
lchwn o'n calonau
m iddo'n cofio'n awr,
wylio'n rhagluniaethol
m danom, lwch y llawr.

li, O Dduw, sy'n porthi
creaduriaid oll;
liwrthyt maent yn dysgwyl
u lluniaeth yn ddi-goll:
lefwn ninau'th gariad
'th ofal dros y byd;
nawl fo i'r hwn a'n prynodd
'i waed a'i angeu drud.

ertha ni i rodio
n deilwng, Arglwydd Dduw,
h ras a'th drugareddau,
ra yma b'om yn byw:
han b'om yn ymadael,
Rol cyrhaedd pen ein taith,
*gad i ni dy foli*
*n nhragwyddoldeb* maith. Amen.

## 450 M. S.

1 POB cnawd sy'n dysgwyl wrthyt, Ion,
Am eu digoni'n gyson:
Am bob creadur yn ei ryw
Mae gofal Duw yn dirion.

2 Ti sy'n rhoi rhinwedd yn yr had.
Gan lanw gwlad â llawnder;
Ac ni ffrwythlona'n meusydd heb
Dy wyneb o'r uchelder.

3 Ti sy'n addfedu cnwd y maes,
Tydi, o'th ras, sy'n trefnu
Pob dydd o'r tymhor oll, a'i rîn,
A hyfryd hin i gasglu.

4 Am haul a lleuad, gwynt, a gwres,
Am wlaw, yn gynhes canwn:
Am ymborth pob creadur byw
Yr ARGLWYDD DDUW addolwn.

5 Wrth edrych ar diriondeb Ion,
Boed uchel son am dano;
Pob perchen tafod, yn y llwch,
Cydunwch i'w fendithio. Amen.

## 451 M. N. 6. 8.

1 MAWR ddyled arnom sydd
I foli IOR y nef,
*Wrth* wel'd o ddydd i ddydd
*Dirioned* ydyw Ef:

yw'n craig, ein tŵr, a'n maeth,
yddyn hon ein cofio wnaeth.

s gall tafodau byw
Holl ddynolryw yn un,
th ddatgan gymmaint yw
Ei gariad Ef at ddyn:
sy'n darpar ar ei ran
erth a'i fywyd yn mhob man.

l cyd-foliannwn DDUW
Am bob trugaredd rad,
gwel'd dirioned yw
Ei ofal am ein gwlad:
ed i'n henaid dduwiol ddawn
i Duw âg yspryd iawn. Amen.

---

# [.—Cysegriad Eglwys.*

M. H.

WHÂ dy waith, O ARGLWYDD IOR,
Rho'th bresenoldeb yn dy gôr;
llor aur yr Eglwys Lân,
gyneu Di dy nefol dân.

Hymnau yn yr VIIIfed Adran, yn nghyd a rhai
au yr "Adfent," yr "Ystwyll," y "Sul ar ol y
ael," a'r "*Sulgwyn*," yn addas i'w canu ar yr
*hwn.*

2 Bywhâ dy waith—ymwel drachefn
A'th osodedig Ddwyfol drefn;
Yr hon a gedwaist yn y byd
Yn golofn gref drwy'r oesau i gyd.

3 Yr un yw hon o oes i oes,
Er gwaethaf llid pob gelyn croes;
O'r Apostolion hyd yn awr
Gwrthsafodd hon bob tywydd mawr.

4 Yr un yw hon, ei nefol fraint
Yw cael ei galw'n Fam y Saint:
Mae'n gwylio'r plant pan ar eu taith:—
A'i chwynfan yw—Bywhâ dy waith.

5 Un corph, un bedydd, ac un ffydd,
Un Arglwydd ac un Yspryd sydd,
Un ffordd o ras i ben ein taith—
O Arglwydd Ior bywhâ dy waith. Amen

# 453 M. N. 8. 7. 4.

1 O! EIN Ior, clyw ein deisyfiad,
Boed dy lygaid nos a dydd
Ar y tŷ a'r lle dywedaist
"Ynddo byth fy Enw a fydd:"
Yma, Arglwydd
Gwiria'th werthfawrocaf air.

2 Yma'n amlwg boed dy wyneb,
Llanw'r deml â'th odre gwiw;
Gwnaer yn adnabyddus heddyw
Mae'th ddewisol drigfan yw:

Boed amddiffyn
Ar yr holl ogoniant byth.

 yma'r mynydd a chwennychaist,
Ac a hoffaist it' dy Hun,
. gwir yw y trigi yma
Ar y ddaear gyda dyn?
Cofia'th eiriau,
" Seion fy ngorphwysfa yw." Amen.

# VII.—Dydd Ympryd.*

4 M. H.

RGLWYDD, ger bron d'orseddfainc fawr
- Ymgrymu'r ydym oll i lawr,
ı nghyntedd dy sancteiddiol Dŷ,
əb feiddio codi'n llygaid fry.

ıwir bechaduriaid ydym, Ior,
l yn ymgynull at dy ddôr
ıddef ein trueni trwch,
ı edifeiriol yn y llwch.

ı d'erbyn, Ior, yn d'erbyn Di
/ Hunan y pechasom ni;
aeddasom dy geryddon llym,
aeddasom gosp dy lidiog rym.

*lawer o Hymnau y "Garawys" yn addas i'w canu* *ahlysur hwn.*

4 O maddeu, maddeu, ARGLWYDD da,
Wrth dy drueiniaid trugarhâ!
Trugaredd—hyn yw'n llef bob un,
Er mwyn dy FAB, dy FAB dy Hun. Am

## 455 M. H.

1 TOSTURIOL yw yr ARGLWYDD NER,
Mae ei orseddfainc uwch y ser;
Ond gwrendy lef y tlawd o'r llwch
Sy'n wylo am ei feiau trwch.

2 O dewch, drigolion daear gron,
Cyd-ymostyngwn ger ei fron,
A chydnabyddwn oll ein bai:
O flaen ei soriant Ef, pwy sai'?

3 Ei hen drugaredd Ef bob pryd
Sy'n tramwy trwy ardaloedd byd;
Pwy wyr na thrugarhâ Efe—
'Tosturiol iawn yw ARGLWYDD ne'.

4 Mae'n gwrando cri uchenaid wan
Sy'n nesu ato yn mhob man:
I'r edifeiriol, hyny fydd,—
'Troi cysgod angeu'n fore ddydd. Amen

# VIII.

## arwolaeth a Chladdedigaeth.

---

6 M. C.

[OR ddedwydd yw y rhai trwy ffydd
Sy'n myn'd o blith y byw;
ı henwau'n perarogli sydd,
A'u hun mor dawel yw!

ol eu holl flinderau dwys
Gorphwyso maent mewn hedd,
ı mhell o swn y byd a'i bwys,
Heb boen yn llwch y bedd.

ais un gorthrymydd byth ni ddaw
I'w deffro i wylo mwy:
phrofedigaeth lem na chroes—
Un loes ni theimlant hwy. Amen.

7 M. C.

AN ddelo angeu yn ei rwysg
I dori f'oll i lawr,
unig noddfa werthfawr, glyd,
Fydd fy Ngwaredwr mawr.

*gad im' mewn tangnefedd pur*
*Roi f'anadl ola'i maes,*

Ac mewn gòrfoledd hwylio dros
Y cefnfor garw glas:

3 A myn'd tan ganu tua'r wlad
A drefnwyd imi fyw:
A gwedi gadaw 'mhell o'm hol
Gystuddiau o bob rhyw. Amen.

## 458 M. C.

1 O ARGLWYDD, dysg im' wybod hyn,
Sef mesur dyddiau f'oes;
A phan ddel arnaf adfyd syn,
Dysg imi ddwyn y groes.

2 Nid yw fy einioes yn y byd
I gyd ond dyrnfedd gron;
A gwag yw ymgais dyn, cyhyd
Y ceisio estyn hon.

3 Fel cysgod ymdrafferthu mae
I gasglu golud mwy;
Ond casglu mae, mewn poen a gwae,
Heb wybod byth i bwy.

4 Pa'm 'r ymddiriedaf, ARGLWYDD mau,
Ar fyd fel hwn yn hwy?
O! paid â mi, gad im' gryfhau
Cyn myn'd na byddwyf mwy. Amen.

## 459 M. N. 8. 7.

1 MAE 'nghyfeillion adre'n myned
O fy mlaen o un i un,

an fy ngadael yn amddifad
  Fel pererin wrtho'i hun.

Wedi bod yn hir gyd-deithio
  Yn yr anial dyrys maith,
Formod iddynt oedd fy ngado
  Bron ar derfyn eitha'r daith.

Wedi dianc uwch gelynion,
  Croesau a gofidiau fyrdd,
Maent hwy 'nawr yn gwisgo'r goron,
  Ac yn cario'r palmwydd gwyrdd.

Byddaf yn dych'mygu weithiau
  Fry eu gwel'd yn Salem lân,
c y clywaf ar rai prydiau,
  Adsain odlau pêr eu cân.

ad mae'r amser bron a dyfod
  Y caf uno gyda hwy,
  un peraidd gôr diddarfod
  Uwchlaw ofn ymadael mwy. Amen.

M. N. 8. 7.

AID cu! mae dyfroedd oerion
'r Iorddonen ddu gerllaw;
gwel, mae'r ddinas sanctaidd
  y lan yr ochor draw.

mae dy hen gyfeillion,
  di dianc uwch pob clwy',
  *aros i gael* cyfran
  *'edwydd*wch hyfryd hwy.

3 Paid ag ofni, ber yw'r fordaith,
Ac mae'r Archoffeiriad cu
Yn dy aros yn y dyfroedd,
Er dy ddwyn i'r ddinas fry.

4 Clyw seraphaidd sain yn hedfan
Draw o frodir Seion fryn!
Gwel ei heuraidd byrth yn agor
Drwy y niwl sy'n toi y glyn.

5 Ffarwel fyd, a ffarwel deithio
Yn yr anial dyrys mwy;
Ffarwel gnawd, a ffarwel lygredd,
Ffarwel boen, a phob rhyw glwy'!

6 Mae'r tywyllwch yn gwasgaru,
A'r goleuni yn cryfhau;
'Nawr 'rwy'n gwel'd y pur drigfanau,
Hed, fy enaid, i'w mwynhau. Amen

# 461 M. H.

1 PAHAM yr wylwn am y rhai
Sydd wedi cyrhaedd fry, heb fraw?
Yn rhydd oddiwrth bob poen a bai
Maent eto'n fyw—yr ochor draw.

2 Er holl flinderau'n marwol daith,
A themptasiynau ar bob llaw;
Er creigiau serth a rhiwiau maith,
Maent eto'n fyw—yr ochor draw.

*3 Ar ol* eu taflu o dòn i dòn
*Drwy* hynt eu mordaith, yma a thraw

n awr o fewn y porthladd llon
Maent eto'n fyw—yr ochor draw.

n ymchwydd yr Iorddonen ddu,
Yr Archoffeiriad oedd gerllaw
ddal eu pen, a'u dwyn yn hy'
Drwy'i hymchwydd oll, i'r ochor draw.

s rhoed eu cyrph i'r ddaear ddu
I orphwys hyd y farn a ddaw,
hedodd eu heneidiau fry:
Maent eto'n fyw—yr ochor draw. Amen

2 M. H.

DDYDD i ddydd, o awr i awr,
'Rwy'n nesu i'r tragwyddolfyd mawr,
s yno byddaf cyn bo hir—
! am gael etifeddu'r gwir!

groes i groes, o dòn i dòn,
nado wnaf â'r fuchedd hon;
n fuan af i byrth y bedd—
! am gyrhaeddyd gwlad yr hedd!

gur i gur, o loes i loes,
ryw haint o hyd i chwerwi f'oes;
aw'r olaf cyn pen gronyn bach—
! am gael bod yn berffaith iach!

fryn i fryn, o bant i bant,
wn ydyw llwybr blin y plant;
*sw diwedd ar fy lludded llawn—*
*am gael gorphwys* tawel iawn! Amen

## 463

M. H.

1 PA'M cara' i 'r byd a'i wagedd mwy?
Hyd angeu'n brin y deuant hwy:
Gwell imi garu'r Ffrind a ddaw
Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw.

2 Ymdeithio'r wyf, o awr i awr,
Yn nes i'r tragwyddolfyd mawr:
O! am dduwioldeb yn ei grym
Fel byddo marw'n elw im'.

3 O! cofia fi pan f'wy'n y bedd,
A ch'od fy llwch i'r lan mewn hedd;
Ac arddel fi'n y farn a ddaw,
A dod fi ar dy ddeheu-law. Amen.

## 464

M. H.

1 MAE byd o sylwedd i barhau,
Ac oriau sobor yn nesau,
Pan ddelo angeu, brenhin braw
I roddi arnaf bwys ei law.

2 Pan ddelo'r oriau hyn i ben
I adael pobpeth îs y nen;
Pan gefno pob rhyw gyfaill cu,
IESU, pryd hyny cofia fi.

3 Os yn y dyffryn tywyll, du,
*Caf* wel'd dy wyneb, IESU cu.
*Tawela* ddychryniadau'r bedd,
*Try angeu* imi'n felys hedd.

4 I blith y dorf ddysglaeriaf draw
O! dwg fy enaid ddydd a ddaw;
I uno gyda'r lluoedd llon
Mewn per ganiadau ger dy fron. Amen

## 465 M. S.

1 FY NUW galluog, rhwyga'r llen,
A dal fy mhen yn angeu;
Rho ffydd i bur olygu'r fan
Cyn suddo dan y tònau.

2 Boed llewyrch dy ogoniant di,
Fy ION, yn llenwi f'enaid;
Yn lle amheuaeth, hyder gre',
A chân yn lle ochenaid.

3 Pan ddel (mae'r amser yn nesau)
Fy einioes frau i fyny;
Bydd arnaf, yn nyfnderau'r glyn,
Fy IESU gwyn yn gwenu. Amen.

## 466 M. S.

1 PAN ballo ffafr pawb a'u hedd,
DUW, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Gyfaill fydd,
Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

2 O IESU cu, tosturia di,
A rho i mi ddoethineb
*I'th ddewis di yn* rhan i mi,
*Cyn myn'd i* dragwyddoldeb.

3 Cyn imi orwedd yn fy medd
Rho imi wedd dy wyneb:
A'th Enw mawr ei foli wnaf
Hyd eithaf tragwyddoldeb. Amen.

## 467 M. N. 6. 5.

1 AR lan Iorddonen ddofn
'Rwy'n oedi'n nychlyd,
Mewn blys myn'd trwy, ac ofn
Ei 'stormydd enbyd:
O na bae modd i mi
Osgoi ei hymchwydd hi,
A hedfan uwch y lli'
I'r Ganaan hyfryd!

2 Wrth gofio grym y dŵr,
A'i thònog genlli',
A'r mynych rymus wr
A suddodd ynddi,
Mae braw ar f'enaid gwan
Mae boddi fydd fy rhan
Cyn cyrhaedd tawel lan
Bro y goleuni.

3 Ond pan y gwelwyf draw
Ar fynydd Seion,
Yn iach, heb boen na braw,
Fy hen gyfeillion,
Paham yr ofnaf mwy?
Y Duw a'u daliodd hwy
A'm dyga inau trwy
Ei dyfroedd dyfnion. Amen.

## 468 M. N. 8. 7. D.

AFON fawr sydd raid myn'd trwyddi,
  Rhwng dau fyd mae rhediad hon,
Swn ei dwr yw'r blin gystuddiau
  Gwrddir ar y ddaear hon;
Rhwng ei thònau bydda' i'n fuan
  Mewn caledi mwya' 'rioed:
O am 'nabod Iesu 'n sylfaen,
  Fel bo'r gwaelod dan fy nhroed.

Yn y dyfroedd mawr a'r tònau
  Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond fy anwyl Briod Iesu
  A fu farw ar y pren:
Cyfaill yw yn afon angeu
  Ddeil fy mhen i uwchlaw'r dòn;
Golwg arno wna imi ganu
  Yn yr afon ddofon hon. Amen.

## 469 M. N. 8. 7. D.

CHWILIA, f'enaid, cyn it' dreulio
  D'oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg ffwrdd oddi yma,
  P'un a ge'st y trysor drud:
Yn mha ardal bydd dy lety?
  Fath bryd hyny fydd dy wedd?
P'un ai llawen ai cystuddiol
  Fyddi'r ochor draw i'r bedd.

*Pan bwy'n meddwl am ymddatod,*
  *A gwynebu'r farn a ddaw.*

Mae rhyw holiad yn fy yspryd
P'un ai'r dde neu'r aswy law
Bydda' i'n treulio tragwyddoldeb—
Dyna'm cartref cyn bo hir:
Tra bo dyddiau gras yn para,
Nerth i lefain am y gwir. Amen.

## 470 M. N. 8. 7. D.

1 DYN i farw wyf er pobpeth,
Dyn i bydru yn y bedd;
Dyn na fedd trysorau'r India
Ddim i'w enaid ddyry hedd:
Dyn âg enaid na fydd marw
Er mor chwerw angeu loes:
'Does â'm ceidw rhag ail-farw
Ond rhinweddau gwaed y groes.

2 O! am rodio gyda'r ARGLWYDD
Tra b'wyf ar y ddaear las;
O! am brofi yn effeithiol
Weithrediadau Dwyfol ras;
O! am orphwys yn Ei heddwch
Tra b'wy'n gorwedd yn y pridd;
O! am godi ar ei ddelw
Fore'r adgyfodiad ddydd. Amen.

## 471 M. N. 8. 7. D.

1 DYSGWYL pethau gwych i ddyfod,
Croes i hyny maent yn d'od\

Meddwl 'fory bydd gorfoledd,
'Fory'r tristwch mwya' erioed:
Meddwl byw, ac eto marw,
Yw'r lleferydd dan fy mron:
Bob yn ronyn mi rof ffarwel,
Ffarwel glân i'r ddaear hon.

Mae 'nghyfeillion wedi myned
Draw yn lluoedd o fy mlaen,
Rhai fu'n teithio dyffryn Baca
Gyda mi i Salem lân:
Yn y dyffryn tywyll, garw,
Ffydd i'r lan a'u daliodd hwy:
Mae'r addewid lawn i minau,
Pa'm yr ofna f'enaid mwy. Amen.

## 72 M. N. 8. 7. D.

TRAGWYDDOLDEB mawr yw'th enw,
Ti mae'n ddiau yw fy lle:
Teithiwr un diwrnod ydwyf,
O am gartref yn y ne'!
Mae'm diwrnod bron a gorphen,
Mae fy haul bron myn'd i lawr,
Mae pob awel yn fy chwythu
Tua'r tragwyddoldeb mawr.

Wrth ymdeithio trwy'r anialwch,
Cadw ngolwg ar yr arch,
Ac i'r deddfau glân sydd ynddi
Gosod yn fy enaid barch;
*Na'd fi laru ar y manna,*
*Na'd fi droi tua'r* Aipht yn ol,

Na'd fi gario lamp heb olew
Yn debyg i'r morwynion ffol. Ame

# 473 M. N. 8. 7. D.

1 O IACHAWDWR pechaduriaid
Sydd a'r gallu yn dy law,
Rho oleuni, hwylia'm henaid
Dros y cefnfor garw draw:
Gad i'r wawr fod o fy wyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd,
Nes i'r haulwen dysglaer godi,
Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 O ynfydrwydd! O ffolineb!
Imi erioed i roddi 'mryd
Ar un tegan ar un pleser
Welais eto yn y byd:
Y mae'r byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw;
Tan y nef ni thal ei garu
Wrthddrych arall ond fy Nuw. Am

# 474 M. B.

1 A I marw raid i mi,
A rhoi'r corph hwn i lawr?
A raid i'm henaid ofnus ffoi
I dragwyddoldeb mawr?

2 *Beth* ddaw o honof fi
'Nol gadael daear lawr?

Tragwyddol wae, neu hedd dilyth
  A fydd fy rhan ryw awr!

Deffroir fy nghysglyd lwch
  Pan seinio udgorn Duw;
Y byd ar dân a'r nef yn ffoi
  Rhag Barnwr meirw a byw.

Mewn galar ai mewn hedd
  Ca'i godi o'r bedd i'r lan?
Pa un mewn gwynfyd ai mewn poen
  Bydd fy nhragwyddol ran?

Ni chrewyd f'enaid drud
  I fyn'd i'r bythol boen:
Can's dros bechodau'r euog fyd
  Bu farw'r addfwyn Oen.

O am gael treulio f'oes
  Er clod i'm Harglwydd mawr;
A rhodio'n isel gyda Duw
  Tra byddwyf ar y llawr. Amen.

## 75 M. N. 6. 8. 6.

MAE'M rhedfa îs y rhod
  Yn nesu at y nod;
I'm hymdaith hon îs awyr gron
  Mae diwedd bron a dod:
Fy mhabell frau sydd yn llesgau,
  Ac yn gwanhau o hyd;
Ac yn y man daw'r amser pan
Bydd *f'enaid gwan* yn fywiol ran
  *Mewn annherfynol* fyd.

2 O Dduw! rho im' dy hedd,
A golwg ar dy wedd;
A maddeu'n awr fy meiau mawr
Cyn'r elwyf lawr i'r bedd:
Ond im' gael hyn, nid ofna i'r glyn,
Na cholyn angeu'n hwy:
Dof yn dy law i'r ochor draw
Heb friw na braw ryw ddydd a ddaw,
Uwchlaw pob loes a chlwy'. Ame

## 476 M. N. 6. 8. 6.

1 I LAWR i'r dystaw fedd
Y rhown ein brawd mewn hedd;
Ei yrfa faith a'i ddiwyd daith,
Dybenu wnaeth un wedd:
O fewn ei dŷ a'r manau bu
Byth mwy ni welir ef;
Ond yn y pridd yn huno bydd
Nes delo'r dydd i'w roddi'n rhydd
Gan Farnydd mawr y nef.

2 Gwynfyd yr hyfryd awr
Pan ddel ein Harglwydd mawr,
I gasglu 'nghyd ei saint i gyd
O'r anial fyd sy'n awr,
I gael mwynhad o'i gariad rhad
Mewn nefol wlad ddilyth;
*Lle* cânt un wedd, mewn didranc hed
*O gylch* ei sedd dragwyddol wledd,
A gwir orfoledd fyth. Amen.

## 477 M. N. 7. 6.

1 YMADO wnaf â'r babell
'Rwy'n trigo ynddi'n awr;
Colofnau'r tŷ ddatodir,
Fe'u cwympir oll i lawr:
A pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy;
'Rwy'n canu wrth gofio'r goron
Na welir arna'i glwy'.

2 Duw dal fi hyd y diwedd,
Nes d'od trwy'r anial maith;
Cei'r goron yn dragwyddol
Os dof i ben fy nhaith;
Bydd melys gan fy enaid
I seinio'r newydd gân,
Am iti gofio am danaf,
A'm cynal yn y blaen. Amen.

## 478 M. N. 7. 6.

1 PWY ddyry i'm Falm o Gilead,
Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneyd i'm henaid edrych
Yn eon ar y bedd,
A dianc ar wasgfeuon
Euogrwydd creulon cry'?
'Does neb ond Ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

2 Mae dyfroedd yr Iorddonen
*Yn erchyll iawn i mi;*

2 k

Heb gwmni Iesu Grist.

8 Ond im' gael 'nabod Iesu,
  Bydd hyny'n ddigon im'
Pan fyddo'm holl gyfeillion
  Yn methu gwneuthur dim;
Pan fyddo'r môr yn berwi,
  A'r haul yn duo fry,
Bydd llewyrch Haul Cyfiawnder
  Yn hyfryd iawn i mi. Amen.

---

# IX.

## Y Sul a'r Addoliad Cyhoedd

Na foed i'r hudoliaethau sydd
Wneyd imi byth annghofio'r dydd.

3 O Dduw 'r tiriondeb, ar bob tro,
Argraffa d'eiriau ar fy ngho',
Fel na throseddwyf unrhyw bryd,
Ond dysgu'th garu'n well o hyd.

4 Dyrchafer fy holl serch a'm bryd
Uwchlaw i bethau gweigion byd:
O! am gael 'nabod Brenhin Nef,
Rhodio a gorphwys gydag Ef. Amen.

## 480 M. H.

1 GWAITH hyfryd iawn a melys yw
Moliannu d' Enw Di, O Dduw;
Sôn am dy gariad fore glas,
A'r nos am wirioneddau'th ras

2 Dy sanctaidd hyfryd ŵyl yw hon,
Na flined gofal byd mo'm bron;
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

3 Yn Nuw fy yspryd lawenha,
Mawrygu ei waith ar goedd a wna';
Sancteiddrwydd pur a pharch di-lyth,
A weddai i'th Dŷ, O Arglwydd, byth.
Am

## 481 M. H.

1 *BLINEDIG gan* ofidiau'r llawr,
*Lluddedig* a methedig bron;

2 a

O! mor gysurol ydyw gwawr,
Hyfrydol wawr y Sabboth llon.

2 'Rol crwydro'mhlith tymhestloedd byd,
A'm curo'n flin o dòn i dòn;
Caf hamdden i anadlu'n glyd
Goruwch eu llid, y Sabboth llon.

3 Rhyw lewyrch trwy gymylau du,
Rhyw borthladd bach ar frig y dòn,
A golwg ar fynyddoedd cu
Y Ganaan draw, yw'r Sabboth llon.

4 Caf orphwys heddyw oddiwrth fy nghur,
A gwledda ar ddanteithion nen;
Fel ernes o'r dedwyddwch pur
A gaiff y llu tu fewn i'r llen.

5 Caf ddod i gynulleidfa'r saint
Ar Seion fryn—rhyfeddol fri!
Nes synu bron uwch ben fy mraint,
Pa fodd y daeth fath rad i mi. Amen.

## 482 M. S.

1 CYDUNWN bawb i foli Duw,
Ei wyneb heddyw ceisiwn;
Cydwleddwn gyda'i anwyl blant
A'i foliant byth datganwn.

2 Hwn ydyw'r dydd a wnaeth ein Duw,
A gwerthfawr ydyw'r oriau;
*Dewn ger* ei fron â llawen fryd,
*Gan barchu'r* hyfryd foreu.

Y sawl a ddelo, dedwydd yw,
I deml Duw 'n gyfanaidd:
Mae un dydd yma'n llawer gwell
Na mil yn mhebyll gwagedd.

Cawn yma bob dymunol ddawn,
Cawn Dduw yn llawn trugaredd,
A'i Yspryd i'n cryfhau bob pryd
Yn fwyfwy hyd y diwedd. Amen.

## 83 M. S.

YR unwedd ag y bref yr hydd
Am yr afonydd dyfroedd,
Felly y mae fy hiraeth i
Am danat ti, Dduw 'r nefoedd.

2 Fy enaid i sychedig yw
Am fy Nuw byw, a'i gariad;
Pa bryd y dof fi ger dy fron,
Fy Nuw, a'm cyfion Ynad?

3 Y man b'ost ti, boed fryn boed fro,
Sydd gyflawn o ddyddanwch:
Yn dy gynteddau'n wastad mae
Rhyw fôr di-drai o heddwch.

4 Clodfored pawb yr Arglwydd Dduw,
Doed dynolryw i'w ganmol:
Ei hedd, fel afon fawr ddi-drai,
Gaiff ddyfrhau ei bobol. Amen.

## 84 M. S.

*CHWYTHED* yr awel deneu, lem,
*O fryn Caersalem* newydd,

I roddi'n hyspryd ni mewn hwyl
I gadw gŵyl i'r ARGLWYDD.

2 I fyny awn i fynydd Duw,
Esgynwn i'w gynteddau;
Dysg in' ei ffyrdd—ac wedi hyn
Ni' rodiwn yn ei lwybrau.

3 Awn felly'n mlaen o nerth i nerth
Yn-brydferth, nes cael dyfod
I foli Duw, â llawen floedd,
Yn entrych nefoedd uchod. Amen.

## 485 M. S.

1 I DY 'r ARGLWYDD pan dd'wedent, "Awn,
Im' llawen iawn oedd gwrando;
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
Yr un ni syrth oddiyno.

2 Caersalem lân, ein dinas ni,
Ei sail sydd ynddi'i hunan:
A'i phobl sydd ynddi yn gytun,
A Duw ei Hun a'i drigfan.

3 Can's yno daw y llwythau 'nghyd
Yn unfryd, llwythau'r ARGLWYDD:
Tystiolaeth Israel a'i drig-fod,
A chlod i'w fawr sancteiddrwydd.

4 O fewn dy gaerau heddwch boed,
*I'th* lysoedd doed yr hawddfyd:
*Er mwyn* fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymydogion hefyd. Amen.

## 86 M. N. 7. 6.

MOR hyfryd yw cyfarfod,
Yn hynod deml DDUW,
I gydglodfori'n beraidd
Ei sanctaidd Enw gwiw:
Awn at ei orsedd rasol
Am bob dymunol ddawn,
I wrando llais trugaredd
Yn seinio'n beraidd iawn.

Gwyn fyd preswylwyr Seion,
Cânt foli'r Oen ar frys,
Ar newydd gân dragwyddol
O fewn y nefol lŷs:
Rho ini, ARGLWYDD grasol,
O fewn i'th breswyl fyw,
Gan gyrhaedd, trwy drugaredd,
O'r diwedd at ein DUW. Amen.

## 87 M. N. 7. 6.

RHOWN glod i'r ARGLWYDD tirion
O galon yn gytun,
Am un o'r dyddiau goreu,
Sef dyddiau Mab y Dyn:
Dydd ydyw i weddïo,
A dwys fyfyrio'n faith
Ar GRIST, a phethau nefol—
Ysprydol, hyfryd waith!

*O ARGLWYDD,* dyro fendith,
*Yn ddilyth* yn dy Dŷ,

A thywallt Di yr Ysbryd
Yn hyfryd oddifry:
O rho dy wyneb grasol,
Y nefol Ddwyfol ddawn,
Ac yna cawn dy foli,
A'th wasanaethu'n iawn.

8 O Arglwydd Dduw Iehofah!
Tro yma'th wyneb llon,
A doed gruddfanau'n hyspryd
I'th glustiau'r oedfa hon;
Doed sain telynau'r nefoedd
I'n clustiau ninau i lawr,
A gwna ni'n gydaddolwyr
A'r nefol dyrfa fawr. Amen.

---

# X.—Bore.

---

## 488

M. H.

1 O! F'ENAID deffro, cân yn awr,
Fel adar achub flaen y wawr;
Os mawl a berthyn iddynt hwy,
Perthyn i mi fil miloedd mwy.

2 Fy nyled fawr feunyddiol yw
Talu ufuddaf glod i Dduw:
*Yn byw*'n y byd tra byddaf fi,
*Gweddi* a mawl sy'n gweddu i mi.

rynwr yw, mae'n haeddu cael
ıffrwyth o'm gwasanaeth gwael:
ıgareddau rhad heb ri,
i a mawl sy'n gweddu i mi.

ɪs yw poen a chroesau'r byd,
ı ar dòn, yn curo o hyd;
ınt fy nghroes, fy mhoen, a 'nghri,
i a mawl sy'n gweddu i mi.

y trugareddau i gyd,
. foliant, holl drigolion byd;
ıef, moliannwch Ef ar gân,
a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen.

---

# XI.—Hwyr.

M. H.

:y Duw, rhof foliant rhydd
freintiau dwys oleuni'r dydd:
imi noddfa gadarn, gu,
'sgod dy adenydd Di.

yn dy anwyl Fab dy hun,
deu 'meiau mawr bob un,
n yr hunwyf, b'wyf o hyd
hedd a Thi, fy hun, a'r byd.

*ni fyw, a myn*'d mewn hedd
*i'm gwely,* felly i'm bedd;

Dysg imi farw a bod heb fraw
Pan ddelo CRIST ar gwmwl draw.

4 I DAD y trugareddau i gyd
Rhown foliant, holl drigolion byd:
Llu'r nef, moliannwch Ef ar gân,
Y TAD, a'r MAB, a'r YSPRYD GLÂN. Amen.

## 490 M. N. 10au.

1 O! AROS gyda mi, y' mae'n hwyrhau,
Tywyllwch, ARGLWYDD, sydd o'm' deutu'n
cau;
Pan gilia pob cynhorthwy,' O! bydd Di
Cynhorthwy pawb, yn aros' gyda mi.

2 Cyflym ymgilia dydd ein' bywyd brau,
Llawenydd, mawredd daear' sy'n pellhau;
Newid a darfod y mae'r' byd a'i fri;
O! 'r Digyfnewid aros' gyda mi.

3 Mae arnaf eisiau'th wyneb' ar bob awr,
'Does ond dy ras ddyrysa'r' temptiwr mawr;
Pwy eill fy arwain, ARGLWYDD,' fel Tydi?
Bob dydd a nos, O! aros' gyda mi.

4 Nid ofnaf neb pan fyddi' Di wrth law;
Ni theimlaf ddim o ingoedd' poen a braw:
Pa le mae colyn angeu?' P'le mae'r bêdd?
Gorchfygaf hwynt os caf ond' gwel'd dy wêdd.

5 O! dal dy Groes o flaen fy' llygaid llaith;
Rho'th lewyrch nefol imi' ar fy nhaith:

Mae'r wawr yn tori: cyll y' byd ei fri:
Yn fyw, yn farw, O! bydd' gyda mi. Amen.

## 91 M. B.

Y NOS sy'n awr gerllaw,
A'r dydd sydd yn hwyrhau;
Ac felly hwyr ein heinioes ni
Sy beunydd yn nesau.

O gweithiwn tra mae dydd
Yr iachawdwriaeth râd
Yn t'wynu arnom, cyn y daw
Y nos o faith barhâd.

Tra paro gyda ni
Oleuni pur y nef,
Trwy GRIST, arweinier ni mewn pryd
I'w wir oleuni Ef.

Gogoniant fo i'r TAD,
I'r MAB a'r YSPRYD GLÂN;
Fel gynt y bu, y mae, y bydd
Yn hanfod di-wahan. Amen.

## 92 M. B.

O AROS gyda ni
Ein IOR a'n Ceidwad cu;
Os cawn dy wedd, nid ofnwn fraw—
O aros gyda ni.

*Y nos sydd* yn nesau
*Ac oriau'r* t'wyllwch du;

I Ti un wedd yw dydd a nos—
O aros gyda ni.

3 Chwennychu'r ŷm yn fawr
Dy bresenoldeb Di,
I'n cynhorthwyo dan bob croes—
O aros gyda ni.

4 Pan ddaw'n gelynion cas
I'n herbyn megys llu,
Dyogel fyddwn dan dy nawdd—
O aros gyda ni.

5 Rho in', bob awr o'n hoes,
Ddyddanwch oddi fry;
Yn angeu ac yn nydd y farn—
O aros gyda ni. Amen.

## 493 M. H.

1 GOLEUNI f'enaid Iesu gwyn,
O'th wydd diflana nos y glyn:
Na foed i gysgod cwmwl du
Fyth guddio gwedd dy wyneb cu.

2 Pan gysgwyf, bydded gwlith dy ras
Yn gwastad ddisgyn ar dy was;
Mor felys gorphwys, heb un cur,
Yn mynwes fy Iachawdwr pur!

3 Bydd gyda mi yn gysur llwyr
O'r bore clir i'r tywyll hwyr;
Pan nesa'r nos, bydd gyda mi,
Ni fynwn farw hebot Ti.

arfu'th blentyn foddi llef
Ddwyfol ras, O maddeu ef:
raith ddechreuwyd, ARGLWYDD mawr,
ether gan bechodau'r llawr.

wylia'r claf, dyddana'r tlawd,
d i'r galarwr trwm yn frawd;
endith dyro i bob un
awyn dy anwyl FAB dy Hun.

y deffrown, bendithia ni,
yn ymdeithio atat Ti,
nes yn môr dy gariad llawn
llyncir ni gan nefol ddawn. Amen.

## II.—O Flaen Pregeth.

M. N. 8. 7. D.

)! na b'ai fy mhen yn ddyfroedd
Fel yr wylwn ddyddiau maith,
rth wel'd Seion wedi hepian
Yn yr anial ar ei thaith;
byd yn gorwedd mewn drygioni,
Seion wedi cysgu'n drwm:
! am floedd yr adgyfodiad
I ddadebru'r dyffryn hwn.

isgyn, IOR, a rhwyga'r nefoedd,
Tywallt YSPRYD gras i lawr;
*isgyn fel y toddo*'r bryniau,

Diosg fraich dy allu mawr:
Difa'r llèni, ymddysglaeria
Ar dy drugareddfa lân;
Rho dy lais a'th wenau tirion,
Achub bentewynion tân. Amen.

## 495 M. N. 8. 7. D.

1 TI sy'n gyru'r mellt i hedeg,
Ac yn rhodio brig y dòn,
Anfon saethau argyhoeddiadau
I galonau'r oedfa hon;
Agor ddorau hen garcharau,
Achub bentewynion tân,
C'od yr eiddil gwan i fyny,
Dysg i'r mudan seinio cân.

2 Hen Agorwr beddau llygredd,
Codwr meirw, tyr'd i lawr;
Chwytha yn yr udgorn arian,
Trwy'r efengyl llwydda 'nawr:
Mae rhyw nerthoedd yn dy Enw,
Mae i'th YSPRYD Ddwyfol rym,
Cymer d'allu annorchfygol,
Noetha eto'th gleddyf llym. Amen.

## 496 M. N. 7. 6.

1 O ARGLWYDD, galw eto
Fyrddiynau ar dy ol,
A dryllia'r holl gadwynau
Sy'n dal eneidiau 'nol,
A galw hwynt o'r dwyrain,
Gorllewin, gogledd, de,

Eglwys yn ddiatal—
ae digon eto o le.

'! tawdd galonau celyd,
dryllia'r muriau pres;
ded Haul Cyfiawnder
n hyfryd yn ei wres;
nerth i'r enaid ofnus
y'n methu d'od i'r lan,
ıra'r rhai galarus,
yddana'r enaid gwan. Amen.

M. N. 7. 6.

ARGLWYDD mawr y bywyd
Doed d' Ysbryd Glân i lawr;
od dy air dan fendith
bawb sydd yma'n awr;
nerth i ddweyd am Iesu,
rhinwedd mawr ei waed,
delo pawb i lefain
m iachawdwriaeth rad.

Ysbryd gyda'th eiriau
wna galonau'n friw;
Ysbryd weithio'n rymus
es gwneyd y meirw'n fyw:
d, gyda'r gair tragwyddol,
[ewn nerth i lawr o'r nef,
deffro 'rhai *sy'n* cysgu,
*es clywo'r meirw'r* llef. **Amen.**

## 498 M. N. 8. 7. 4.

1 ARGLWYDD grasol dyro gymhorth
I gyhoeddi eto i ma's
Ddyfnder calon dyn truenus,
Ac anfeidrol olud gras:
Fel bo dyfnder
Byth am ddyfnder yn cael son.

2 Dyro'th YSPRYD i lefaru,
Ac i wrando d'eiriau pur;
Boed dy lewyrch nefol, hyfryd,
A'th arddeliad ar y gwir:
O! amlyga
Annorchfygol nerth dy ras. Amen.

## 499 M. N. 8. 7. 4.

1 RHWYGA'R nefoedd, disgyn, ARGLWYDD
Tawdd bob mynydd o dy flaen,
A dynoetha'th fraich yn ebrwydd,
Achub bentewynion tân:
Brysia'n fuan,
Achub yn yr oedfa hon.

2 D'air, fel gordd, a dyr galonau
Creigaidd iawn yn chwilfriw mân;
D'air, fel tân, a wir oleua,
Ac a bura'r brwnt yn lân:
*Gad in' deimlo*
*Dwyfol* nerth efengyl hedd. Amen.

## 500 M. N. 8. 7. 8.

1 ARGLWYDD, anfon dy leferydd
  Heddyw yn ei rwysg a'i rym;
Dangos fod dy lais yn gryfach
  Nas gall dyn wrthsefyll dim:
Tyr'd yn mlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân.

2 Deued yr awelon hyfryd,
  Effaith YSPRYD gras i lawr;
Llifed atom afon bywyd
  Dardd o dan yr orsedd fawr:
Dyro'n rhad wir fywhad
I rai meirw yn eu gwaed. Amen.

## 501 M. N. 8. 7. 8.

1 DUW, preswylia gyda'th bobol,
  Yn eu plith o hyn i ma's,
Yn dy ddoniau cadwedigol,
  Yn dy annorchfygol ras;
Rho dy lef gadarn gref,
Nes y clywo'r meirwon ef.

2 Dyro ini wel'd o'r newydd
  Mai Ti, ARGLWYDD, yw ein rhan:
Boed dy hyfryd bresenoldeb
  Gyda'th weision yn mhob man;
Tyr'd i lawr, ARGLWYDD mawr,
Rho dy fendith yma'n awr.

3 Y*mddysglaeria yn* y canol,
  *Gwel dy bobl* yma 'nghyd,

Yn hiraethu, anwyl Iesu,
Am gael gwel'd dy wyneb pryd:
Chwyth yn gry' oddifry
I wasgaru'r cwmwl du. Amen.

# XIII.—Wrth Ymadael.

502 M. N. 8. 7. 4.

1 DAN dy fendith, wrth ymadael,
Y dymunem, Arglwydd, fod;
Llanwa'n c'lonau oll â'th gariad,
A'n geneuau oll â'th glod;
Dy dangnefedd
Dyro ini yn barhaus.

2 Am Efengyl gras a'i breintiau
Rhoddwn ddiolch byth i Ti;
Boed i waith dy Ysbryd Sanctaidd
G'nyddu fwy-fwy ynom ni:
I'r gwirionedd
Gwna ni'n ffyddlon tra f'om byw.

3 Yna pan y delo'r alwad
Ini fyn'd o'r ddaear hon,
Dwg ein henaid o bob trallod
I gael gorphwys ger dy fron.
Haleluiah
Yno ganwn yn ddi-baid. Amen.

## 503 M. N. 8. 7. D.

1 ARGLWYDD, gollwng mewn tangnefedd
Bawb i'w hanedd yn gytun:
Cynal ni, er mwyn dy Enw,
Ar dy ddelw hardd dy hun;
Boed ein cariad fyth ar gynnydd
At ein Prynwr grasol, cu,
Nes cyrhaeddom nefol wynfyd
Ger dy fron mewn bywyd fry.

2 Boed i ras ein Ceidwad Iesu,
Ac anfeidrol gariad Duw,
A dyddanus wên yr Ysbryd
Orphwys arnom tra f'om byw;
Felly cedwir undeb perffaith
Rhyngom oll a Duw yn nghyd;
Meddu cawn, mewn hoff gymundeb,
Londer pur na fedd y byd. Amen.

## 504 M. N. 8. 8. 6.

1 OS rhaid gwahanu 'nawr am dro,
Mae'n felys iawn cael dwyn i go
Gyfarfod pur y nef,
Lle cawn gyd-wledda'n ddiwahân
Yn nghwmni'r Oen a'r engyl glân,
A chanu "Iddo Ef."

2 Mae yno *bawb* ar newydd wedd,
*Yn llon o hyd*, a llawn o hedd,

A'u cân am farwol glwy';
Yn dorf ddirif, a'u llestri'n llawn
O bur ddedwyddwch nefol iawn,
Heb raid ymadael mwy.

3 Cymhwysa ni, O Arglwydd mawr,
I uno â'r dyrfa uwch y llawr
Heb ofni poen na gwae;
A threulio ein tragwyddol oes
Yn nghwmni'r Gwr fu ar y groes,
A'i weled fel y mae. Amen.

# ATTODIAD.

## Bore.

**505** M. N. 8. 3. 3. 6.

1 DEFFRO, f'enaid, deffro'n ufudd,
C'od yn awr,
Gyda'r wawr,
Seinia ganiad newydd.

2 Dyrcha foliant hyd yr wybren;
Cysgod da,
Rhag pob pla,
Gefaist dan ei aden.

3 Heddyw rho'f fy mhwys ar ddwyfron
Iesu gwiw,
Noddwr yw,
Rhag pob rhyw elynion.

4 Pwysa arno dros dy ddyddiau;
Nes daw dydd,
*Myn'd* yn rhydd,
*I dy fythol gartre'.*

5 Uwch peryglon, IESU, cadw
F'enaid llon,
Ger Dy fron
Dirion, nes fy marw.

6 Pan b'wy'n sengu llwybrau angeu,
Rhag pob braw,
Rho Dy law,
Yna ni ddaw ofnau.

7 Hiraeth sy ar fy nghalon dyner,
Wel'd y dydd,
Fyn'd yn rhydd,
Maes o'm poen a'm blinder.

8 Gwna fi farw, farw'n ddiau,
Marw i'r byd,
'Nawr yn nghyd
A'i holl wael bleserau. Amen.

---

# Hwyr.

---

## 506 N. N. 7. 6. 8.

1 Y DYDD sydd wedi darfod,
Boed mawl, fy IOR, i Ti;
*Diogel a dibechod*
*Fo'r dywell nos i mi:*

O Iesu, clyw fy ngweddi daer,
Gorchuddia fi â' th aden glaer.

2 Y llawen ddydd a dreuliwyd,
Fy nghalon esgyn fry;
Didrosedd a diarswyd
F'o awr tywyllwch du:
O Iesu, clyw fy ngweddi daer,
Gorchuddia fi â'th aden glaer.

3 Aeth poen y diwrnod heibio,
Datganaf glod i Ti;
Angylion Duw fo'n gwylio
Drwy'r nos o'm hamgylch i:
O Iesu, clyw fy ngweddi daer,
Gorchuddia fi â'th aden glaer.

4 Tydi, Waredwr f'enaid,
A wyddost ing fy llef,
A pha beryglon dibaid
Sydd ar y ffordd i'r nef:
O Iesu, Clyw fi yn ddi-goll,
Ac achub fi o'u gafael oll. Amen.

07 M. N. 8. 8. 8. 8. 8. 8.

O BRYNWR Hael! bendithia ni,
Dy air o'n mewn fo'n genni o hyd;
*Pob calon oer,* gwresoga hi
*A chariad pur* a duwiol fryd:

Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu!

2 Aeth heibio 'r dydd a'i oriau chwim,
A'r cyfrif gedwi Di 'n ddi-goll—
Ein llwyddiant bach trwy 'th rasol rym,
Ein ffaeledd, a'n gwendidau oll:
Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu!

3 Rho in' faddeuant, rho Dy hedd,
Ac addfwyn ofn, a rhyddid cun,
A phur galonau hyd y bedd,
Fel byddom debyg it' Dy Hun:
Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu!

4 Trwy'th bryder, lleddfaist bryder dyn,
Trwy weithio'th Hun, bendigaist waith;
Ein calon ni na lygred gwŷn,
Na'n llafur gan un gynhen chwaith:
Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu!

5 Dyrchafwn atat Ti ein cri
Dros bawb—y tlawd, y gwael, a'r coll;
A'th hael drugaredd llona ni—
Ti yw ein Ceidwad, Ti ein Oll.
Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu!

6 Bydd agos atom yn ddi-lai,
Trwy gydol y dywyllnos ddu:
Angylion fyddo'n gwylio'n tai,
A ninau'n ddiwrnod nes i Ti!
Trwy hir-ddydd oes, yn angeu du,
Bydd ini'n Haul, O Iesu cu! Amen.

# Nadolig.

508 M. N.

1 O DEUWCH, ffyddloniaid,
Gan lon orfoleddu;
O deuwch, O deuwch i Fethlehem:
Ganwyd, chwi welwch,
Frenhin yr Angylion!
O deuwch ac addolwn—
O deuwch ac addolwn—
O deuwch ac addolwn ein Harglwydd Dduw.

Y gwir Dduw o wir Dduw,
Llewyrch o lewyrch,
A gwir ddyn a anwyd o Forwyn bur:
Duw cenhedledig,
Ac nid gwneuthuredig,
O deuwch, &c.

*Cydganed angylion*
*Lawen Aleluia!*

Cydganed holl gôr y nefolaidd lu,
"Gogoniant i Dduw
Yn y goruchafion."
O deuwch, &c.

4 Am hyny i'r Iesu
'R hwn a anwyd *heddyw* (ini)
Boed mawredd, gogoniant, gallu, parch, a l
Yn gnawd y gwnaethpwyd
Gair y Tad tragwyddol.
O deuwch, &c. Amen.

## Nos a dydd Calan.

509 M. N.

1 HED ein dyddiau a'n mynudau
I'n prysuro tua'r bedd;
O mor fuan y gorweddwn
Yno, wedi gwywo'n gwedd!

2 Iesu, drugarocaf Geidwad,
Deffro eneidiau meirw'n awr;
Tithau, enaid sy'n breuddwydio,
Dewis y dewisiad mawr.

3 Gwelwn i ba le y teithiwn,
A myfyriwn fered oes;
P'un ai nefoedd a gyrhaeddwn,
Ai tragwyddol wae a loes.

4 Bywyd a ffy,
Angeu a ddaw;
Cadw ni, Dduw,
Byth yn dy law:
Byw er Dy glod,
Marw yn Dy hedd,
Gaffom, a theyrnas tu draw i'r bedd!

5 Bywyd gilia megys cysgod,
Neu fel tarth o flaen y wawr;
Dduw, pardyna feiau'r flwyddyn,
Caniatâ ddoethineb mawr.

6 Byddwn ddoeth i rifo'n dyddiau,
Cryf i ladd pob pechod du;
Dyfal weithiwn yn y Winllan
Nes y cawn orphwyso fry.

7 Pan y gelwi Di, ein Barnwr,
Fyw a meirw i'r Farn a ddaw,
Gosod ni, O Grist ein Prynwr,
Yno ar Dy ddeheu law!

8 Bywyd a ffy,
Angeu a ddaw;
Cadw ni, Dduw,
Byth yn dy law:
Byw er Dy glod,
Marw yn Dy hedd,
*Gaffom, a thêyrnas* tu draw i'r bedd.

Amen.

# Yr Ystwyll.

510 M. N. 7au. 8ll.

1 CANWN odlau clod i Ti,
Iesu tirion, Crist ein Rhi;
Amlygedig drwy y gwawl
Dysglaer, dorodd er Dy fawl;
Gwrthddrych addol Doethion gynt,
Ar eu ffyddlon hylon hynt;
Amlygedig Dduw mewn dyn,
Dyrchwn glod i Ti bob un.

2 Amlygedig yn y dw'r,
Addfwyn Iesu, hawddgar Wr;
Amlygedig yn y wledd—
Grasol wawl oedd ar dy wedd:
Gwridodd dw'r yn felys win
Trwy Dy nerth a'th Ddwyfol rin:
Amlygedig Dduw mewn dyn,
Dyrchwn glod i Ti bob un.

3 Amlygedig yn gwellhau
Cleifion, cloffion, clwyfon clau:
Amlygedig ar y groes,
Pan yn dyoddef angeu loes:
Amlygedig wedi hyn
Ar ael yr Olewydd fryn:
Amlygedig Dduw mewn dyn,
Dyrchwn fawl i Ti bob un.

T'wylla'r haul, y lloer, a'r ser,
Ffy i'r obry wybren der;
Ond, fel mellten yn y nen,
CRIST ddysgleiria goruch-ben:
Pawb glyw'r corn, sef min-gorn mawr
Barnwr nef a daear lawr!
  Amlygedig DDUW mewn dyn,
  Dyrchwn glod i Ti bob un.

Dyro ras i'th wel'd, O DDUW,
Yn Dy Lân Oraclau byw:
Bod yn debyg i Ti'n awr—
Pur a dysglaer fel y wawr:
Fel bo'm debyg it' i gyd
Pan wawr Ystwyll olaf byd:
  Amlygedig DDUW a dyn,
  Dyrchwn glod i Ti bob un. Amen

---

# Y. Garawys.

M. N. 6. 5. 6. 5. D.

GRISTION! wyt ti'n gweled,
  Ar y sanctaidd dir,
Lluoedd Midian angrhed—
  Trais a gormes hir?
Gristion! ymarfoga
  Ystod gweddill oes,
Ymladd *ac ymffrostia*
  ***Yn y Sanctaidd*** Groes.

2 Gristion! wyt ti'n teimlo
Grym eu hymgyrch cudd—
Pechod yn dy hudo'n
Wastad, nos a dydd?
Gristion! paid ag ofni
Mwy eu twyll a'u braw,
Ympryd dwys a gweddi
Yr y cwbl draw.

3 Gristion! wyt ti'n clywed,
Eu hudolus iaith?
Ac mewn gweddi'n gwylied
Eu bradwrus waith?
Gristion! ateb dithau
"Caf, drwy weddi'r ffydd,
Goncwest ar ol brwydrau,
Nerth yn ol y dydd."

4 "Da y gwn dy drallod,
Ffyddlon was i mi,"
Medd yr ARGLWYDD uchod,
"Felly teimlais I,
Poen fydd dy berffeithydd,
Daw y dydd pan dry
Tristwch yn llawenydd
Ger fy ngorsedd fry." Amen.

## 512 7. 6.

1 O IESU 'n hiachawdwriaeth,
Ymgrymwn wrth dy groes.
Yn dy dosturi helaeth
Ystyria'n cri a'n loes;

Tra delom yn grynedig,
  A'n cwynion yn ddirif,
Ein calon yn ddrylliedig,
  A'n dagrau megys llif.

2 O ffyddlon Archoffeiriad
  Sydd o'r tu fewn i'r llen,
A priod-waed taenelliad
  Wnaed unwaith ar y pren;
Addefwn ein anhaeddiant,
  A'n pechod yn ddi-wâd:
Er mwyn dy fawr ogoniant
  Dilea'n beiau'n rhad.

3 Drwy'r Grog a ddyoddefaist,
  Dy Ing, a'th dristwch syn,
Y goron ddrain a wisgaist,
  A'th angeu ar y bryn,
A thrwy dy ddirfawr benyd,
  Dy waedlyd chwys, a'th gri,
A'th aberth difrycheulyd,
  Gwna gymmod drosom ni.

4 Yn mhob drylliedig galon
  Teyrnasa Di dy Hun;
A maddeu ein dyledion,
  A'n beiau mawr bob un;
O arwain ni i wynfyd,
  Berffeithydd mawr ein ffydd,
Y *nos â'r golofn* danllyd,
  *A'r cwmwl* niwl y dydd. Amen.

# 513

7.6.

1 MI glywais gynt fod Iesu,
A'i fod Ef felly 'n awr,
Yn derbyn publicanod
A phechaduriaid mawr:
O derbyn, Arglwydd, derbyn
Fi hefyd gyda hwy,
A maddeu'r holl anwiredd,
Heb gofio'r camwedd mwy.

2 Yn mhlith y gwahangleifion,
'R wyf finau'r estron pell
Yn dyfod atat, Iesu—
Tydi yw'r Meddyg gwell:
Yn aflan fel yr ydwyf
'R wyf atat yn nesäu,
Gan gredu'n llwyr, os myni,
Ti elli fy nglanhau.

3 O dywed wrthyf finau
Fel wrth y rhai o'r blaen,
"Yr wyf yn ewyllysio
Dy wella, bydd yn lân.
Ac wedi it' fy ngwella
O'm nychdod o bob rhyw,
Mi ro'f yr holl ogoniant,
A'r moliant byth i Dduw. Amen.

# 514



M.C.

1 AT un a wrendy weddi'r gwan
'R wyf yn dyrchafu 'nghri;
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
O DDUW! na wrthod fi.

2 Er mor annheilwng o fwynhau
Dy bresenoldeb Di,
A haeddu marw ger Dy fron—
O DDUW! na wrthod fi.

3 Pan fo'm cydnabod îs y nen
Yn cefnu arna' i'n rhi',
A châr a chyfaill yn pellhau—
O DDUW! na wrthod fi.

4 Er mwyn Dy Grog a'th Angeu drud
Ar fynydd Calfari,
A'th ddwys eiriolaeth yn y nef,
O DDUW! na wrthod fi.

5 Pan yn wynebu ymchwydd yr
Iorddonen ddofn ei lli',
A theithio'n unig trwy y glyn—
O DDUW! na wrthod fi.

6 A phan y deui yr ail waith
Mewn mawredd, parch, a bri,
*I farnu'r byw a'r meirw 'nghyd-*
*O DDUW!* na wrthod fi. Amen.

# 515

M. N. 7au. 411.

1 DEUGAIN nydd a deugain nos
Yn yr anial temtiwyd Di;
Deugain nydd a deugain nos
Yr ymprydiaist drosom ni.

2 Tanllyd ydoedd haul y dydd,
Gwlith y nos yn oer a thrwm;
Ac yn mysg gwylltfilod rhydd,
Llawr y graig fu'th wely llwm.

3 Ninau ddysgwn, er Dy fwyn,
Rywfaint o'th ddysgybliad trist;
Nerth drwy'r Ympryd gawn i ddwyn
Rhan o ddyoddefiadau CRIST.

4 Cnawd ac yspryd llesg a ball
Dan demtasiwn Satan hyf;
Ti a drechaist lid y Fall—
Yn Dy nerth mae'r gwan yn gryf.

5 Felly cawn ni Ddwyfol hedd,
Cysur a llawenydd mawr;
Ac angylion claer eu gwedd
I'n gwas'naethu ddont i lawr.

6 Cadw ni, Waredwr gwir,
Wrth dy ystlys, yn Dy dŷ;
Cawn, ar ol yr Ympryd hir,
Gadw Pasg tragwyddol fry.

# Sul y Blodau.

3 M. N. 7. 6.

1 GOGONIANT, clod, a moliant,
O IESU, f'o i Ti:
Adleisia plant Dy Enw
Mewn sain Hosanna cu.

2 Tydi yw Brenhin Israel,
Mab Dafydd ydwyt Ti,
Yn Enw'r IOR yn dyfod
I lawr o'th orsedd fry.
Gogoniant, clod, &c.

3 Cymdeithas yr angylion
A'th folant yn y nef,
A'r holl greëdig bethau
Atebant âg un llef,
Gogoniant, clod, &c.

4 Aeth pobl yr Hebreaid.
A'u palmwŷdd o Dy flaen;
'Ry'm ninau yn Dy ddilyn
Mewn gweddi, mawl, a chân.
Gogoniant, clod, &c.

5 I Ti, cyn it' ddyoddef,
Cyflwynent hwy eu clod;
Ond ni yn awr a'th folwn
*Yn Frenhin* uwch y rhod.
Gogoniant, clod, &c.

6 Derbyniaist gynt eu clodydd,
Bydd foddlawn' n awr i ni,
'R Hwn wyt yn llawn daioni—
Ein Brenhin grasol, cu.
Gogoniant, clod, &c. Amen.

# Y Pasg.

## 517

M. N.

1 CRIST gyfodwyd! CRIST gyfodwyd!
Drylliodd Ef Ei rwymau tyn!
CRIST gyfodwyd! CRIST gyfodwyd!
Nef a daear bloeddiwch hyn.
Wedi dyoddef poen a loes
Yn Ei gariad mawr;
Wedi marw ar y Groes,
Mae yn fyw yn awr.
CRIST gyfodwyd! CRIST gyfodwyd!
Drylliodd Ef Ei rwymau tyn;
CRIST gyfodwyd! CRIST gyfodwyd!
Nef a daear bloeddiwch hyn.

2 Holl gadwynau angeu ddrylliwyd!
Daear lawr a nefoedd fry
Yn mhob arwydd orfoleddant,
Am fawrhad ein Ceidwad cu!
Gyda'i Dad teyrnasa Ef
Mewn tragwyddol serch,
Nes daw'r Priod Fab o'r nef
At ei Briod Ferch.
CRIST gyfodwyd! &c.

Llengoedd Engyl a groesawant
 Arglwydd daear, Arglwydd nef,
Wedi dysgwyl a hiraethu
 Am ei lân ddyfodiad Ef:
  Fe'i cyfodwyd, ddaear cân!
   Cenwch, ser, mewn trefn!
  Seinier mawl mewn dwyfawl dân!
   Byw yw CRIST drachefn!
CRIST gyfodwyd! &c. Amen.

3 M. N. 7au 4ll.

1 SER y bore'n dyrfa lân,
 Ail-gyfodwch nefol gân;
Trwy'r holl fydoedd boed ar glyw
Bloedd gorfoledd meibion DUW.

2 Newydd da! bloedd udgorn hedd!
Cododd IESU GRIST o'r bedd!
Newydd da! melltened ef
Trwy holl fydoedd teyrnas nef.

3 Cyfun â'r angylaidd gôr,
Boed ein mawl i'r nefol IOR;
Canwn i bob calon drist
Fuddugoliaeth IESU GRIST.

4 Colyn angeu mwy nid yw
Yn dychrynu dynolryw;
Na'r *bedd mwy'n* cynhyrfu'n drist
*Gwir ddilyn*wyr IESU GRIST.

5 Allan tored salmau mawl,
Ffrwd gorfoledd yn ddi-dawl;
Treigled eu bodoldeb maith,
Yn dragywydd, yn mhob iaith.

6 Ser y bore'n dyrfa lân,
Ail-ddyrchefwch nefol gân;
Trwy'r holl fydoedd boed ar glyw
Bloedd gorfoledd meibion Duw. Amen.

## Y Dyrchafael.

519 M. N. 8. 8. 8. 4.

ALELUIA! ALELUIA! ALELUIA!

1 CYFODI wnaeth Tywysog Hedd,
Gorchfygodd uffern fawr a'r bedd,
Esgynodd i'w dragwyddol sedd,
Aleluia!

2 Agorwyd dysglaer byrth y nef,
Fe glywir gorfoleddus lef,
Fel swn y mor neu daran gref,
Aleluia!

3 Y fuddugoliaeth fawr a gaed,
Seraphiaid gwympant wrth ei draed,
A'r saint a olchwyd yn ei Waed
Aleluia!

4 Cymerwn ein telynau 'nawr,
*Odd*iar yr helyg prudd i lawr,
Ymunwn yn yr anthem fawr,
Aleluia!

5 Esgynodd CRIST i entrych nef,
Pob glin a blyga iddo Ef,
Dyrchafwn y fuddugol lef,
Aleluia!

6 Gogoniant fo, ar uchel gân,
Trwy'r nef a'r ddaear heb wahan,
I'r TAD, a'r MAB, a'r YSPRYD GLAN.
Aleluia! Amen.

# 520

M. N. 6. 6. 8.

1 YR ymdrech fawr a droes
O'n plaid ar bren y Groes,
Trwy chwerw loes ein Priod cu:
Wrth farw un prydnawn,
A thalu perffaith Iawn,
Ca'dd goncwest lawn ar angeu du.

2 Ar fore'r trydydd dydd
Fe ddaeth y Meichiau'n rhydd;
Ein Prynwr sydd yn awr yn fyw:
Mae agoriadau'r bedd
Wrth wregys Brenhin hedd,
A gwir etifedd pobpeth yw.

Esgynodd CRIST, ein Pen,
I entrych nefoedd wen;
'u fewn i'r llen aeth drosom ni:
Duw, â'i ddeheulaw gref,
A'i *tra-dyrchafodd* Ef
*ᐧch nef y nef* mewn parch a bri.

4 Mae'n dadleu gyda'r Tad
Am lawn faddeuant rhad,
A chyfiawnhad i'r euog rai:
Pan ddel i farnu'r byd,
Fe ddwg ei saint i gyd
I berffaith wynfyd pur di-drai. Amen.

# Dyddiau Gwylion.

## 521 M. N. 7. 6.

1 O FENDIGEDIG IESU!
Am Saint Caersalem lân,
Y Saint sydd yn y rhyfel
Ddyrchafant i Ti gân;
Mwy fuont na choncwerwyr
Ar uffern ynot Ti;
D' ogoniont sy'n goleuo'u
Coronau heirdd di-ri'.

2 EMYN NEILLDUOL AR Y DYDDIAU GWYLION.

I.—SANT ANDREAS.

Mawl am'r Apostol Cyntaf
Roesawodd Geidwad dyn;
Ac yna a arweiniodd
At GRIST ei frawd ei hun:
Rho ras in' oll i wylio,
Cyn delo brenhin braw,
A dysgwyl, gyda'n brodyr,
Dy Adfent sydd gerllaw.

## II.—Sant Thomas

Mawl am yr angrhedadyn
  Ga'dd wel'd mewn t'wyllwch prudd,
Dy Dduwdod a Dy gariad
  Fel haul ar ganol dydd:
I'r rhai sydd yn Dy ddysgwyl
  Datguddia eto'th Hun;
Rho ddysglaer ffydd i'th ganfod
  Yn berffaith Dduw a dyn.

## III.—Sant Stephan.

Mawl am y Merthyr cyntaf
  A'th welodd yn y nef,
Tra dan y gawod gerig,
  Yn eiriol drosto ef;
O boed in' arddel D' Enw,
  Os erledigaeth ddaw,
Fel tystion ffyddlon yma,
  Cawn ferthyr-goron draw.

## IV.—Sant Ioan Efengylwr.

Mawl am y dysgybl anwyl,
  Apostol mwyn y Gair,
Orchfygodd rym y cleddyf,
  A chreulawn ing y pair:
Datguddiaist gynt i Ioan
  Nefolaidd bethau cêl;
O *Arglwydd*! una ninau
  *A'r dyrfa* sydd dan sel.

V.—Dydd gwyl y Gwirioniaid.

Mawl am yr holl Fabanod,
Mor anwyl gan y nef!
I gôl Dy gariad aethant
O'u gwaed yn Methle'm dref:
O Rahel paid ag wylo,
Maent mewn dedwyddach man:
O Arglwydd! boed eu purdeb,
A'u coron ini'n rhan.

VI.—Troad Sant Paul.

Goleuni Dwyfol tanbaid,
A llais yr Iesu mawr,
A blygodd Saul o Tarsus
Fel plentyn ar y llawr:
Am ryfedd droedigaeth,
Gogoniant f'o i Ti:
A boed i'r un Goleuni
Oleuo'n t'wyllwch ni.

VII.—Sant Matthias.

Yr un-ar-ddeg arweiniaist
I ddewis ffyddlon un,
Yn Fugail yn lle'r bradwr
A aeth i'w le ei hun:
O Dduw amdiffyn D' Eglwys
Rhag apostolion gau;
A beunydd, dan Dy fendith,
Boed iddi ymgryfhau!

## VIII.—Sant Marc.

Mawl am yr hwn mewn gwendid
  Ga'dd nerth yr Yspryd Glan,
Ei lafur a'i Efengyl
  Sydd heddyw'n destyn cân:
O Arglwydd da! perffeithia
  Nerth yn ein gwendid ni;
A gwna ni'n wir ganghenau,
  A ffrwythlawn ynot Ti.

## IX.—Sant Philip a Sant Iago.

Mawl am Dy ddau Apostol,
  Dy Enw, Iesu cu,
Yn Ffordd, ac yn Wirionedd,
  Yn Fywyd iddynt fu:
Rho ras i ninau rodio
  Y Ffordd i'r noddfa glyd,
Ac enill buddugoliaeth
  Ar demtasiynau'r byd.

## X.—Sant Barnabas.

Bu enwog fab Diddanwch
  I Ti yn ufudd was;
Dibrisiodd olud daear,
  Enillodd olud gras:
Dy ffrwythau pur, ysprydol,
  'Chwanego ein mwynhad,
A haf o wir ddiddanwch
  *F'o'n* gwenu yn mhob gwlad.

## XI.—Sant Ioan Fedyddiwr.

Mawl am y gwir Elias—
  Y ffordd a barotodd—
Yr olaf o'r prophwydi,
  A'r mwyaf yn mhob modd;
Rhyw un pelydryn welodd
  Yn rhagfynegu'r wawr;
O! gwyn ein byd sy'n rhodio
  Yn ngrym y Llewyrch mawr!

## XII.—Sant Pedr.

Mawl am Dy ddewr Apostol
  A fu yn wadwr ffol;
Tair gwaith y gwadodd, teirgwaith
  Derbyniaist Ef yn ol:
O! dyro i'th Fugeiliaid,
  I ddyfal borthi'th wyn,
Wroldeb, gostyngeiddrwydd,
  A chariad, er Dy fwyn!

## XIII.—Sant Iago.

Mawl it' am nerthu Iago
  I ddyoddef gyda'th blant;
Dan gleddyf Herod greulawn
  Y ca'dd farwolaeth Sant:
O boed i ninau'n llawen
  Y croesau trymion ddwyn,
A'n dygo yn agosach
  I'th fynwes, Iesu mwyn!

## XIV.—Sant Bartholomeus.

Mawl am yr hwn a welwyd
  O dan ffigysbren ir
Gan lygad Hollwybodaeth—
  Yr Israeliad gwir:
O! byddwn oll yn ffyddlawn,
  Yn ddidwyll yr un wedd!
A'r Dwyfol Bresenoldeb
  Yn henaid fydd yn wledd!

## XV.—Sant Matthew.

Mawl am Sant Matthew daenodd
  Newyddion da ein Tad;
Yn lle y byd dewisodd
  Y Groes, a'i holl sarhad:
Rho ras i ni ymwrthod
  A mammon—duw y byd;
Ac oll, o lwyr fryd calon,
  Dy ganlyn Di o hyd.

## XVI.—Sant Luc.

Am Luc, Physygwr anwyl,
  Mawl fyddo it' yn awr;
Dangosodd i ni'r Meddyg,
  A'r Cydymdeimlwr Mawr:
Rho i'n calonau drylliog
  Dy olew pur a'th win;
*Dy Yspryd* a'n heneinio
  *Ag enaint* nefol rin!

## XVII.—Sant Simon a Sant Judas.

Mawl am Dy ddau Apostol,
Un oeddynt yn eu ffydd;
Un oedd y sel a'r cariad
A'u gwnaeth i gario'r dydd:
A thros y ffydd yn selog
Cyfodwn ninau'n llef,
Yn nghwlwn brawdol gariad,
Nes cyrhaedd nef y nef.

## XVIII.—Yr holl Saint.

Mawl am y gras ddarparodd
Anfeidrol Iawn y groes,
A'r cariad roddodd wynfyd
I'r Saint, o oes i oes:
Yn nghanol dydd D'ogoniant,
O Arglwydd boed i ni,
Fel gemau byth addurno
Dy goron ddysglaer Di!

## Diweddiad Cyffredinol.

8 Prophwydi, Apostolion—
Ardderchog lu y gwawl,
Mewn gynau gwynion ganant
Dragwyddol salm o fawl;
Maent wedi croesi'r afon
Yn iach uwch law y don;
Eu camrau boed in' ddilyn
A'th wasanaethu'n llon.

4 I'r TAD y b'o gogoniant,
I'r MAB boed parch a bri,
I'r YSPRYD GLAN boed moliant—
Tragwyddol UN yn DRI:
Nes delo'r prynedigion
I gyd i chwyddo'r cor,
Y gallu a'r anrhydedd
F'o byth i Enw'r IOR. Amen.

## 2 M. N. 6. 8.

REDIGAETH Y FENDIGEDIG FAIR Y FORWYN.

1 BLANT dynion llawenhewn,
Rhown buraf glod i gyd;
Mewn cnawd i'n plith y daeth,
Iachawdwr mawr y byd!
I dalu pryniad Prynwr ddaeth,
Ef prynu'r sawl oedd gynt yn gaeth

2 Yn awr mae'r Sanctaidd Faich
Yn mraich Siměon Duw,
A'i ffydd sy'n edrych draw
I'r iachawdwriaeth wiw:
Hir ddysgwyl sydd yn awr ar ben
Y Dysgwyliedig ddaeth o'r nen.

3 Ei syn gyfarchiad ef
Glyw'r Wyryf glân ei chlod,
Gan feddwl ynddi ei hun
*Beth allai hyny fod!*

Pa boenau iddo Ef heb ri'—
A'r cledd a draidd ei chalon hi.

4 O fewn dy lysoedd, GRIST,
Yn drist addefwn ni
Bechodau o bob rhyw—
Trwy'th Iawn erglyw ein cri;
Er bod yn euog aflan lun,
Cyflwyna Di ni'n lân bob un.

5 A phan, O DDUW yn ddyn,
O'r dwyrain dolef ddaw,
Yr iachawdwriaeth fawr
Bydd gyfaill in' gerllaw:
"DUW pob cyfiawnder" bydd pryd hyn,
Ar ol ein harwain oll trwy'r glyn.
Amen.

## 523 M. S.

### CYFARCHIAD MAIR Y WYRYF FENDIGEDIG.

1 AR edyn gwawl daeth Gabriel
I gyfarch Gwyryf wylaidd,
O entrych nef yr EL-BETH-EL,
Ar neges wir nefolaidd.

2 Edrychodd DUW ar isel radd
Y Forwyn ddiradd dduwiol;
Clodfora'r byd y ged a ga'dd
Trwy rad y Brenhin nefol!

3 O anwyl ynni fod o'i bru
Yn hanu'r Digre-edig;
Dysgwyliad pob cenhedlaeth fu—
Yr Iesu Bendigedig.

4 O hynod ddedwydd ddydd i ddyn!
Dysgwyliad pob cenhedlaeth
A ddaeth o'r nef! Pob iaith yn un
Fendithia Fam dynoliaeth.

5 O Ddwyfol Fab! Pob sang di-nam,
Dy wylaidd fam glodforem—
Pob gwewyr, gwae, gorfoledd, llâd,
Ei buchedd lân ddilynem.

6 Ond gorchudd daflodd arfaeth Duw
Dros fywyd Mam Tangnefedd:
Nis gall na thant na thafod byw
Byth ddatgan ei gorfoledd.

7 Er maint i'r diwrnod hwn ein parch,
Ein cyfarch, diolch diwyd,
Diflana'r Wyryf lân o'n gwydd—
Crist Iesu ei Hun yw'r bywyd.

Amen

## 524 M. H.

### Sant Mihangel a'r Holl Angylion.

1 ANGYLION cariad ddont at ddyn
O hedd lywodraeth Duw ei Hun—
O gartref gwawl tanbeidiawl byth—
*O bur drigfanau* claer di-lyth.

2 D

2 Hwy ddeuant i'n gwarchodi ni,
I leddfu loes pob croes, pob cri;
Ond tra'n ein brysio fry at DDUW,
Cant ganddo aros tra b'om byw.

3 Ond pan f'o dyn ar ben ei daith,
Gweinyddant eu hyfrytaf waith;
Sisialant wrth yr enaid prudd—
"Ti, gristion, dos i Wlad y Dydd."

4 O GRIST! Dy gri a'th ddagrau Di
Sancteiddiodd ofnau'n natur ni;
Pan, yn Dy ofid ar y llawr,
Derbyniaist borth angylion gwawr.

5 Sel dy angylion dyro i ni
I'th garu a'th wasanaethu Di;
Ac angel fyddo'n gyfaill cu
Pan ddelo dydd marwolaeth du.

6 Ac felly, pan y derfydd oes,
Ni gawn y goron heb y groes,
A chyda'r pur angylaidd gôr
Ni ganwn gydgan mawl i'r IOR.

Amen.

## 525

M. N.

1 AM bawb o'r Saint sy'n gòrphwys | gwedi gwaith,
Fu'n Dy gyffesu trwy'u dae | arol daith,
*Bendithier* Di am byth mewn | dwyfol iaith.
Aleluia!

2 Ti oedd eu Craig, eu Hàmddi | ffynfa, a'u Nerth,
Ti oedd eu Capten yn y | rhyfel certh,
Ti ydoedd eu Golèuni | mawr ei werth.
Aleluia!

3 Am y gogoned Apos | tolig Gor
A fu yn cludo'r Gròes dros | dir a mor,
Gan ysgwyd byd—moliànnwn | Di ein I
Aleluia!

4 Am D' Efengylwyr—gàir y | rhai'n a gawn
Fel pedair ffrwd, yn càdw'n | ffrwythlawn iawn
Deg Ardd ein Duw—Dy Enw | a fawrhawn.
Aleluia!

5 Am y Merthyri, àrdderch | ocaf lu,
A ganfu'r goron glàer yn | dod o fry,
A'i chipio wrth farw—gògon | eddwn Di.
Aleluia!

6 O boed i'th filwyr ffỳddlawn | pur, dilyth,
Ryfela fel Dy Sàint tra | ynddynt chwyth,
A chael y goron bèry'n | ddysglaer byth.
Aleluia!

7 Gymundeb glân! Frawdoliaeth | ddwyfol fri!
Gogoniant iddynt hŵy, ym | drechu i ni;
Ond pawb yn un, trwy fòd yn | eiddo i Ti.
Aleluia!

8 A phan ffyrnicaf b'òr fil | wriaeth hon,
O bell y daw'r buddugol | Ganiad llon:
Cryfha *y fraich,* a dewrach | daw y fron.
*Aleluia!*

9 Yr hwyrnawn euraidd ỳmddys | gleiria draw,
Ac i'r rhyfelwyr pèr or | phwysfa a ddaw—
Paradwys Duw heb ryfel | poen, na braw.
Aleluia!

10 Ond wele! tyr gogonedd | usach gwawr:
Y Saint buddugol gẁyd yn | dyrfa fawr;
Brenhin gogoniant rodia Ei | ffyrdd yn awr.
Aleluia!

11 O eithaf mor a thir yn | ddi-wahân
Trwy bellawg byrth ä'r dyrfa, | gyda chân
O fawl i'r Tad, y Mab, a'r | Ysbryd Glân.
Aleluia! Amen.

## 526 M. N. 8. 7. D.

1 WRTH y mor o risial gloew
Clywch anthemau'r nefol gôr,
Aleluia, Aleluia,
Aleluia byth i'r Ior:
Tyrfa nas gall neb eu rhifo,
Dysglaer fel y ser, fil myrdd,
Safant yn eu gynau gwynion,
Yn eu dwylaw'r palmwydd gwyrdd.

2 Patriarchiaid, glân Brophwydi,
Efengylwyr yno sydd;
Saint, Brenhinoedd, a Merthyron,
Apostolion, cewri'r Ffydd:
Duwiol wragedd a gwyryfon,
Gweddwon fuont yma'n drist,
Ydynt oll a'u tannau'n dynion
Yn moliannu Iesu Grist.

3 Dyma'r rhai fu'n ngwlad y cystudd,
Olchwyd gànwyd yn y gwaed,
Profwyd hwynt mewn gorthrymderau,
A safasant ar eu traed;
Gwawdiwyd, rhwymwyd, a llabyddiwyd,
Llifiwyd, lladdwyd gan y cledd,
Ond yn NGHRIST y gorchfygasant
Nerthoedd uffern fawr a'r bedd.

4 Dan Dy Groes yr ymdeithiasant—
Baner buddugoliaeth yw—
T'wysog mawr eu hiachawdwriaeth,
Cedwaist eu heneidiau'n fyw:
Gyda Thi yn llon hyd angeu
Dyoddefasant boen a chlwy',
A bu angeu'n enedigaeth
I'r gogoniant iddynt hwy.

5 Mewn tangnefedd y teyrnasant,
Rhodiant yn yr heulwen glir,
Yfant ddyfroedd anfarwoldeb—
Afon Bywyd nefol dir:
Gwleddant byth ar hedd a chariad,
Gwelant bobpeth yn ddi-len
Yn natguddiad gwynfydedig
TRI yn UN yn ngoleu'r nen.

6 CRIST, yr unig-genhedledig
FAB y TAD, ein Brawd a'n DUW,
Yn *yr Hwn mae*'r Saint mewn undeb
*Dirgeledig yn* cyd-fyw.

Tywallt arnom o'th gyflawnder,
Enyn ynom nefol dân,
Byth i foli'r DRINDOD SANCTAIDD,
DAD, a MAB, ac YSPRYD GLAN. Amen.

## 527 M. C. D.

1 Y WAREDIGOL dorf o Saint
O gylch yr orsedd lân,
A seiniant oll, heb flino byth,
Ar flas y newydd gân;
Gan dd'wedyd Teilwng ydyw'r Oen
A laddwyd ar y pren,
I gael tragwyddol foliant gan
Holl awdurdodau'r nen.

2 Can's Ti a'n prynaist trwy Dy Waed
O bob rhyw lwyth ac iaith,
Ac a'n cynheliaist ni ar hyd
Ein dyrys anial daith;
A gwnaethost ni'n frenhinoedd gwych,
Ac yn Offeiriaid nef,
I DDUW a'r TAD, a byth y cawn
Deyrnasu gydag Ef.

3 Yr ogoneddus dyrfa fawr
O engyl uchel fraint,
A unant oll, o galon bur,
I eilio mawl y Saint,
Gan dd'wedyd Teilwng ydyw'r Oen;
Pryniawdwr dynol-ryw,
*O bob* addoliad, parch, a bri—
*Ein* HARGLWYDD ninau yw.

4 Cydunwn ninau ar y llawr
A'r Saint a'r Engyl fry,
I roddi ein coronau i lawr
Wrth draed ein HARGLWYDD cu;
Nes caffom fyned yno i'w plith,
I'w weled a'i fwynhau,
Lle nad oes ond dedwyddwch pur
Tragwyddol yn parhau. Amen.

## 528 M. C. D.

1 AR faes y gâd ein IESU sydd
Am goron uwcha'r nef;
A'i faner goch yn chwyfio'n rhydd—
Pwy sy'n ei ddilyn Ef?
Yr hwn a ŷf o'i chwerw loes,
A'i gwpan Ef yn drist,
Yr hwn sy'n dawel dan ei groes—
Efe sy'n canlyn CRIST.

2 Y Merthyr, â'i eryraidd drem
Yn treiddio trwy y bedd,
Yr hwn fydd byth yn ddysglaer em
Yn nghoron Tywysog Hedd;
Fel IESU, yn Ei olaf awr,
Ei gri mewn marwol glwy'
Oedd, "Maddeu i'm gelynion mawr"—
Pwy sy'n ei ddilyn, pwy?

3 Y Deuddeg gwrol lanwyd gan
Fawr ddoniau'r YSPRYD GLAN;
Yn nerth eu HARGLWYDD yn mhob man
Heriasant rym y tân;

Y cleddyf dur, y llew a'i wangc,
  Nis dychrynasant hwy,
Eu gyddfau blygwyd hyd at drangc—
  Pwy sy'n eu dilyn, pwy?

4 Y Tadau yn ardderchog lu,
  Y plant yn dyrfa wiw,
Sy'n llawen gyda'u Prynwr cu,
  Mewn gwisgoedd heulog liw:
Dringasant hwy y creigydd serth
  I uchelderau'r nef:
O DDUW! i'w canlyn dyro nerth
  Nes delom ato Ef! Amen.

## 529 M. N. 8. 7. 8. 7. 8. 7.

1 PWY yw'r rhai'n o fro y Thronau
  Sydd fel ser ger gorsedd IOR,
Oll yn gwisgo aur goronau—
  Pwy yw'r gogoneddus gôr?
Aleluia! Aleluia!
  Yw eu huchel gan i'w POR.

2 Pwy yw'r rhai'n sydd yn nysgleirdeb
  Llachar wisg gwirionedd Duw,
A phob gwisg yn wen gan burdeb,
  Nas edwina byth ei lliw,
Nas gall amser staenio'i gwyneb—
  O pa dyrfa ddysglaer yw?

3 Dyma'r rhai a ymroddasant
  Dros eu Prynwr mawr o hyd,
Dyma'r rhai a ymdrechasant
  I osgoi gwageddau'r byd,

hrwy'r Oen a orchfygasant
Nes cael buddugoliaeth ddrud.

nych gwaedwyd eu calonau,
Mynych cawsant gystudd mawr;
da'r ARGLWYDD mewn gweddïau
Ymdrechasant lawer awr:
l oes ymdrech mwy yn ddiau,
Duw a sych eu dagrau 'nawr.

l offeiriaid offrymasant
Eu hewyllys oll i DDUW,
i GRIST y cysegrasant
Gorph ac enaid nefol ryw.
yn hyn hwy gyrhaeddasant
Wyddfod ION i fythol fyw. Amen.

M. B.

O ARGLWYDD, am dy Saint
Fu ynot yma'n byw,
Gan garu'th waith fel nefol fraint,
Ein diolchgarwch clyw.

) derbyn am Dy Saint
Ein mawl annheilwng hyn;
Ti oedd eu gwobr fawr ei mhaint,
A'u cân pan yn y glyn.

In ngrym y 'stormydd du,
Berffeithydd mawr eu ffydd,
Dy YSPRYD SANCTAIDD ynddynt fu
Yn nerth yn ol y dydd.

*Hunasant yn Dy* hedd,
*I Ti bo'r moliant* mwy:

O nertha ninau hyd y bedd
Bob dydd i'w dilyn hwy. Amen.

## 531

M. B.

1 O WELE'R dyrfa lon
Ger bron yr orsedd lân;
Cyduno maent i foli'r Oen
Yn gyson, fawr a mân.

2 Tarawant yn gytun
Bob telyn yn y lle,
Gan seinio'n gu ryw newydd gân
O foliant iddo 'Fe.

3 Beth bynag fu eu rhan,
Tra yn yr anial fyd,
Un testyn heddyw sydd i'r gân,
Un gwaith i'r dyrfa i gyd.

4 Ar for o wydyr glân
Saif heirdd gantorion nef,
A seiniant glod i Fab y Dyn
Mewn Aleluia gref.

5 Nesau mae'r ddedwydd awr
Cawn ninau fyn'd i'w plith,
I seinio'r anthem yn ddi-boen
I Duw a'r Oen dros byth. Am

## 532

M. N:

1 CANWN anthem nefol rîn,
Unwn mewn clodforedd;
Tristwch y Merthyron blin
Drowyd yn orfoledd:

Aethant trwy aur byrth y dydd,
  Coron hardd a gawsant;
O'u marwoldeb maent yn rhydd,
  Anfarwoldeb wisgant.

2 Aethant adre trwy y tân—
  Cofleidiasant fflamiau;
Trechodd y gwroniaid glân
  Uffern a'i phicellau:
Can's trwy ffydd y gwelsant draw
  Gyrau'r wlad dragwyddol,
Lle y canant yn ddi-daw
  Felys gân fuddugol.

3 Ffydd, fel craig mewn 'stormydd certh,
  Cariad anorchfygol,
Gobaith nefol dorodd nerth
  Ing y fflam angherddol:
Gyda hwy, O Gristion! dos—
  Canlyn hyd at angeu;
Dim ond mynyd fer yw'th nos,
  Bythol fydd y boreu. Amen.

# Hymnau Cyffredinol.

3 M. N. 7. 6.

1 O DDEDWYDD bererinion,
  Tra'n teithio ar y llawr,
Ac Iesu *yn Gydymaith*,
  *A'r Iesu'n Flaenor* **mawr!**

2 Mor ddedwydd, os llafuriwch
Fel Iesu, er yn drist;
Mor ddedwydd os newynwch
Fel y newynodd Crist!

3 Y Ffydd, trwy'r hon y'i gwelwch,
Y Gobaith nefol ryw,
Y Cariad sy'n eich tynu
O bobman at eich Duw:—

4 Beth ydynt ond cenhadon
I'ch tywys ato Ef?
Beth ydynt ond pelydrau
Goleuni pur y Nef?

5 Pob gofid, pob gorthrymder,
A phob temtasiwn brudd,
Nad oes ond angeu'i hunan
A'ch dwg o'u rhwymau'n rhydd:—

6 Beth ydynt ond Ei dlysau,
Nefolwerth dwyfol ryw?
Beth ydynt ond yr ysgol
O'r llawr i'r nef at Dduw?

7 Y Groes a gariodd Iesu,
Fe'i cariodd yn eich llé;
A'r Goron mae E'n wisgo,
Gewch wisgo yn y ne'.

8 O ddedwydd bererinion,
Edrychwch uwch y llawr,
Lle daw'r fath ysgafn gystudd
I chwi'r fath wobrwy mawr!

M N. 8. 7. 4.

DISGYN, IESU, o'th gynteddau,
Lle mae moroedd mawr o hedd ;
Gwel bechadur sydd yn gruddfan
Ar ymylau oer y bedd:
Rho im' brofi
Pethau nad adnabu'r byd.

D'wed a ellir nesu atat,
D'wed a ellir Dy fwynhau,
Heb un gorchudd ar Dy wyneb,
Nac un gwg i'm llwfrhau?
Dyma'r nefoedd
Wyf am gael tu yma i'r bedd.

O! dystewch, derfysglyd donau,
Tra b'wy'n gwrando llais y nef:
Swn mwy hoff a sain mwy hyfryd
Glywir yn Ei eiriau Ef:
F'enaid gwrando
Lais tangnefedd pur a hedd. Amen.

M. N. 6. 8.

JERUSALEM sy fry,
Fy ninas a fy nghân,
Trwy angeu deuaf fi
I'th fewn â moliant glân.
O ddedwydd le!
Pa bryd y caf
Addoli'm Naf
*A'i weled E'?*

2 O'th fewn mae f'ARGLWYDD IOR
Fu'n ddi-bris ar y llawr;
Ond mae'th angylaidd gor
Yn ei foliannu'n awr.
O ddedwydd le! &c.

3 Patriarchiaid bore'r byd
O'th fewn sy'n llon eu gwedd;
A gwelant yna o hyd
Eu hoff Dywysog Hedd.
O ddedwydd le! &c.

4 Dych'mygaf weled cor
Yr Apostolion claer,
A thelynorion IOR
Yn chwarae'r tannau aur.
O ddedwydd le! &c.

5 Merthyri gwedi gwaed
Wna'r llys yn felys fawl;
Eu gwisg yn burdeb wnaed,
A'u creithiau yn loew o wawl
O ddedwydd le! &c.

6 Gwae fi! gwae fi fy mod
Yn mhebyll Kedar brudd!
Fy NUW gad imi dd'od
I wlad y nefol ddydd!
O ddedwydd le!
Pa bryd y caf
Addoli'm Naf
A'i weled E'? Amen.

M. N.

;CHAFER mawl go | gonawl gân, Aleluia.
›digion llon fo'ch llef,
goniant | Brenhin nef. Aleluia.
ved lleisiau | corau cu, Aleluia.
l fràint y | nefoedd fry. Aleluia.
l breswylia yn y | Wynfa wen, Aleluia.
elo'r gân yn gydgan | byth uwch ben, Aleluia.
dau, wrth belydru | trwy y nef, Aleluia.
piau ser cydunwch | yn y llef, Aleluia.
lau | ar eich hynt,
| gafn-aden wynt,
ιau 'n rhuo | dros y byd,
glèir | wyllt fellt yn gwau,
ιwch | i barhau'r
Aleluia, Aleluia, Aleluia.
iaint, | dònau'r eigion,
òrm | ydd eira mân,
vmwl | hyfryd ddyddiau,
vyd rew | a hafddydd glân,
nog | lwyni glain, Aleluia.
goedd | dyrchwch sain, Aleluia.
'ntaf, adar ag aml | liwiog blu, Aleluia.
wch foliant y Cre | awdwr cu, Aleluia.
l, fwystfilod, àg am | ryfath dôn, Aleluia.
ıwch yn yr anthem | lon i'r Ion, Aleluia.

Taranedy mynyddoedd yn son | iärus, A
Atebed y dyffrynoedd hwythau'n |
A

Rhoed eigion dwfn y weilgi | uchel lef, A
Atebed cyfandiroedd | daear ef, A
I Grewr hael pob | byd a bod, A
Boed hon yn gân o | gyson glod, A
Hon yw y sain y fythol sain a gar y
GLWYDD IOR, A
Hon yw y gân, y nefol gân, a hoffa
ein POR, A
Am hyn deffrown ein lleisiau a'n teim
A

A lleisiau plant atebant ein can
A

Rhoed, heb baid, pob | enaid byw, A
Aleluia i'n, | TAD ein DUW; A
I'r MAB, a'r YSPRYD, | tra fo chwyth, A
Ni ganwn Ale | luia byth: A
Mawl cytun i'r | TRI yn UN,
Aleluia, Aleluia, Aleluia,

## 537 M. N.

1 YN llaw fy Nhad, trwy'r anial tywyll
Yr af yn mlaen;
Du ydyw'r nos, a dyrus iawn y daith,
Ond af yn mlaen;
*Er bod* y niwl yn dallu'm llygaid prud
*Yn llaw fy* Nhad, yn gadarn mae fy ff

2 Nid wyf am holi'n ffol, pa fodd? paham?
Wrth fyn'd yn mlaen;
O cadw 'nhraed, a dyogel fydd pob cam,
Wrth fyn'd yn mlaen;
Can's plentyn wyf, O ARGLWYDD arwain fi,
Rho i'm Dy law, a digon yw i mi.

3 Yn llewyrch gwan fy rheswm 'r oeddwn i
Am fyn'd yn mlaen,
Yn ffyrdd fy hun, heb geisio'th lwybrau Di
Yr awn yn mlaen:
Wrth ffydd, ac nid wrth olwg 'r wyf yn awr
Am fyn'd yn mlaen; O maddeu malchder mawr.

4 Hyd yma, yn Dy law dros greigydd serth,
Yn llon yn mlaen,
Y dringais fry; O dyro eto nerth
I fyn'd yn mlaen,
Nes gwel'd yn ngwawr y Baradwysaidd wlad.
Angylaidd wên anwyliaid tŷ fy Nhad. Amen.

## 538

M. N. 8. 7. D.

1 IESU, Ti wyt ffynon bywyd,
Bywyd dedwydd i barhau;
Pob rhyw gysur is y nefoedd,
Ynot Ti Dy Hun y mae:
Nis gall croes, na gwae, na chystudd,
*Wneuthur* niwaid iddynt hwy

Gawsant nerth i wneyd eu noddfa
 Yn Dy Ddwyfol farwol glwy'.

2 Iesu hawddgar! 'r wy'n Dy ddewis—
 Nerth i ddilyn, ol dy dro'd
Yna caiff fy enaid hedeg
 I'r hapusrwydd uwch y rhod:
Mawr yw'm poen heb Dy gwmpeini,
 Mwy dymunol yw na'r byd;
Rhosyn Saron yw f'Anwylyd—
 'Does ond tegwch ynddo i gyd.

3 Mae fy nghalon yn 'sgrifenu,
 Ac yn adrodd wrthi ei hun,
Enw hyfryd a rhinweddol,
 Duw yn gwisgo natur dyn:
Iachawdwriaeth, Iachawdwriaeth,
 Iachawdwriaeth werthfawr iawn,
Ydyw Enw fy Ngwaredwr
 Genyf, foreu a phrydnawn. Amen.

# 539 M. B. D.

1 YN wastad gyda Duw!
 Boed hyny i mi, Amen!
Trwy borth marwolaeth af i fyw
 Am byth tu fewn i'r llen.
Wyf yma heb fy Naf
 Yn mhell o'm nefol wlad,
*Er hyn*, bob nos, fy mhabell wnaf
 Yn nes i dŷ fy Nhad.

2 Mor agos ambell waith
I dreiddiol olwg ffydd,
Yw tŷ fy Nhad a phen fy nhaith,
A thoriad nefol ddydd!
Wyf yma heb fy Naf, &c.

3 Yn wastad gyda Duw!
Fy Nhad boed hyn i mi!
A gad im' yma hefyd fyw
Yn agos atat Ti,
Wyf yma heb fy Naf, &c.

4 Pan rwygo'r llen yn ddwy
O dan fy olaf chwyth,
Nid angeu fydd fy angeu mwy,
Ond bywyd bery byth.
Wyf yma heb fy Naf, &c. Amen.

## 540 M. N. 6. 4.

1 'DOES destyn gwiw i'm cân,
Ond cariad f'ARGLWYDD glân,
A'i farwol glwy';
Gruddfanau Calfari,
Ac angeu IESU cu,
Yw 'nghân a mywyd i,
Hosanna mwy.

2 Paham bu i ddeddf y nef
*Ymaflyd ynddo* Ef,
*A rhoi* iddo glwy'?

Fe roddwyd, yn y drefn,
Fy meiau ar Ei gefn,
Pwy na ro'i floedd drachefn—
Hosanna mwy.

3 Caniadau'r nefol gôr
Sydd oll i'm Harglwydd Iôr,
A'i Ddwyfol glwy';
Y frwydr wedi troi,
Gelynion wedi ffoi—
Sy'n gwneyd i'r dyrfa roi
Hosanna mwy.

4 O faint Ei gariad Ef!
Nis gall holl deulu'r nef
Ei dreiddio trwy:
Mae hyn i mi'n beth syn,
I ruddfan pen y bryn,
Droi'n gân i mi fel hyn—
Hosanna mwy.

5 Pan ddelo'r plant yn nghyd,
O bedwar cwr y byd,
I'w mangre hwy;
Gobeithiaf yn ddilyth,
Gael telyn yn eu plith,
I ganu heb gwyno byth,
Hosanna mwy.

6 Na ddigied neb o'r plant,
Am imi ganu ar dant
O'u telyn hwy:

[redacted]



Myfyrio'r tywydd du
Fu ar ein Iesu cu,
A droes fy nghân mor hy'—
Hosanna mwy. Amen.

## 41 M. M. 7. 6. 4ll.

### Rhan I.

1 BYR yma yw ein bywyd,
Byr ofal, ysgafn gur:
Ond yno bythol wynfyd,
Di-ddagrau fywyd pur.

2 Ad-daliad gwynfydedig!
Byr lafur, uchel fraint,
I'r euog a'r lluddedig,
Gorphwysfa gyda'r saint.

3 Rhaid yma gario'r cleddyf,
Ond gwisgo'r goron draw;
A'r palmwydd gwyrdd a'r llawryf
Buddugol yn mhob llaw.

4 Ond fe gawn weled yno
Hoff wrthddrych mawr ein ffydd
Ar sawl a gredant ynddo
Fwynhant ei wen ddi-ludd.

5 Fe wawria bore tirion,
A chwal pob cysgod du;
Dysgleiria'i ffyddlon weision

6 Ein Duw, ein Rhan, a'n Llywydd,
Yn llawnder pur ei ras,
Gawn foli mewn llawenydd
Parhaus, â newydd flas.

# 541

M. N. 7. 6.

RHAN II.

1 AM danat, gartref nefol,
Y gwylia'm llygaid i;
Wrth wel'd dy enw swynol
Tywalltant ddagrau'n lli.

2 Son am dy gain drigfanau
Sydd falm i'm calon friw;
Ac olew-win i'm clwyfau,
A hedd a bywyd yw.

3 O unig, un breswylfod,
Paradwys gwynfyd pur;
Lle na cheir poen na thrallod,
Ond gwenau fyth heb gur!

4 Yr OEN yw dy ogoniant,
Dy fawl yw CRIST a'i groes;
Y gwaredigion ganant
Ei glod o oes i oes.

5 Dy gaerau sydd o Jaspis,
Dy heol o aur pur;
*Topasion* gwych a sardius
*Ddysgleiriant* ar dy fur.

6 Diadfail yw'th ragfuriau,
O berlau haen ar haen;
Dy feini yw dy seintiau,
A CHRIST y gongl-faen.

7 Di-làn yw môr dy wynfyd,
Di-fachlyd haul yw'th ddydd;
Ffynhonell nerth a bywyd
I'r llesg bererin prudd.

8 Ar GRAIG YR OESOEDD codir
Dy sanctaidd dyrau ban;
A llawryf y gorchfygwr
A'i goron yw dy ran.

## 41 M. N. 7. 6. 4ll.

RHAN III.

1 O SALEM, euraidd Ddinas!
O fel a llaeth yn lli';
Myfyrio ar dy urddas
Lesmeiria'm calon i.

2 Pwy all ddyfalu'r mwyniant
I'n haros yno sydd,
Dysgleirdeb dy ogoniant,
A'i wynfyd pur di-ludd?

3 Llawn yw trigfanau Seion
O orfoleddus gân;
A dysglaer gan angylion,
*A llu'r Merthyri glân.*

4 O'i mewn mae Brenhin Seion—
Ceir gwel'd ei wedd o hyd ;
A gwledda'r gwaredigion
Oll ar ei fwrdd yn nghyd.

5 Yn hon mae gorsedd Dafydd,
Ac ynddi byth mewn hedd,
Mae udgorn-floedd llawenydd,
A melys gân y wledd.

6 A'r rhai fu yn gorchfygu
O dan eu Capten Mawr,
A'u gwisgoedd wedi'u cànu,
Ddysgleiriant fel y wawr.

[*Gellir canu y ddau benill canlynol ar ol pob un o'r rhanau blaenorol.*]

O gartref-wlad anwylgu,
Preswylfod teulu Duw!
Pob calon sy'n hiraethu
Am ynot fyth gael byw.

O dwg ni, Iesu grasol,
I'r hen orphwysfa lân ;
I foli yn dragwyddol
Y Drindod ddi-wahân. Amen.

## 542 M. C.

1 JERUSALEM, fy nghartref hoff,
Mor gu yw'th enw i mi!
Pa bryd y try fy llafur blin
I hedd, a mawl, a Thi?

2 Pa bryd y gwel y llygaid hyn
Dy byrth a'th furiau claer,
Ac iachawdwriaeth ar bob mur,
A 'strydoedd gloew o aur?

3 Nid oes afiechyd o dy fewn,
Nac oerni nos na dydd!
Pob sant ddysgleiria fel yr haul,
A Duw'n goleuo sydd.

4 Prophwydi ac Apostolion sydd
Yn moli CRIST fy IOR:
A phawb a garaf ar y llawr
Ymunant yn y cor.

5 Jerusalem, fy nghartref hoff,
Mae hiraeth arnaf fi
Am ddiwedd ar fy llafur blin,
A d'od o fewn i ti.

6 O GRIST, fy enaid parotô
I gartref cariad claer,
A phan y'th welaf gyda'th saint,
Cei fawl ar dannau aur. Amen.

## 3

M. N.

1 TEG wawriodd arnom ddydd,
A welwyd gynt trwy ffydd,
Gan rai sy'n awr
O'r cystudd mawr yn rhydd;
Ac os oedd dyled arnynt hwy
Foliannu'r Oen am farwol glwy',
*Mae'n dyled* ni, genhedloedd,
*Fil miloedd* foli mwy.

2 Mae udgorn Jubili,
Am haeddiant Calfari,
Yn seinio'n llon
Newyddion goreu i ni:
Gwir lawenha fy enaid prudd,
Enillodd Iesu mawr y dydd,
Daw carcharorion angeu
O'u rhwymau oll yn rhydd.

3 Dewch, dewch o fawr i fân,
Cyn delo'r diluw tân,
I'r arch mewn pryd,
Fe lysg y byd yn lân:
O ddinas distryw, brysiwch, ffowch,
Ar y gwastadedd nac ymdrowch,
I sanctaidd fynydd Seion,
O ddynion, pa'm na ddowch! Amen.

## 544 M. N. 6au. 6ll.

1 PAN doro'r wawrddydd lân,
Fy effro galon gân
Molianner Iesu Grist:
Mewn gweddi neu mewn gwaith,
Hon fydd fy nghyson iaith,
Molianner Iesu Grist.

2 Pan glywaf gloch y Llan,
Siriola f'enaid gwan;
Molianner Iesu Grist:

Y bore a'r prydnawn
Hi gân yn beraidd iawn
Molianner IESU GRIST.

3 Fy nefol Dad! fy NUW!
Hoff gri fy enaid yw
Molianner IESU GRIST.
Ni flinaf ganu i'r IOR,
Mewn undeb gyda'r cor,
Molianner IESU GRIST.

4 Y gân fendigaid hon
A ddyry hedd i'm bron—
Molianner IESU GRIST.
Pe ciliai cwsg yn llwyr,
Och'neidiwn yn yr hwyr
Molianner IESU GRIST.

5 Os meddwl drwg a gwyd,
Caf darian rhag fy nwyd—
Molianner IESU GRIST.
Pan sudda f'enaid prudd,
Fy nghysur olaf fydd
Molianner IESU GRIST.

6 Pan wywa hedd y llawr
Hyn fydd fy mwyniant mawr—
Molianner IESU GRIST.
A phan ddiflano'm dydd,
Fy meddwl olaf fydd
*Molianner* IESU GRIST.

7 Try'r nos fel bore wawr
Pan ganwn ar y llawr
Molianner Iesu Grist:
A gallu'r t'wyllwch gryn
Pan glyw'r mawl-odlau hyn,
Molianner Iesu Grist.

8 Y gan anwylaf yw,
Yn ngwynfyd nef fy Nuw,
Molianner Iesu Grist:
Cyduned dae'r, a môr,
Ac wybren, yn y cor—
Molianner Iesu Grist.

9 Tra pery'm heinioes frau,
Boed i fy nghân barhau,
Molianner Iesu Grist:
A chanu eto gawn
I dragwyddoldeb llawn,.
Molianner Iesu Grist. Amen.

## 545 M. N. 7. 6.

1 UN sylfaen fawr yr Eglwys,
Yr Arglwydd Iesu yw;
Ei greadigaeth newydd
Trwy ddwfr a gair fy Nuw:
Ei briodasferch sanctaidd
O'r nef i'w cheisio daeth,
A'i waed ei hun fe'i prynodd,
Ei bywyd enill wnaeth.

2 Fe'i planwyd trwy'r holl wledydd,
Ond *un* er hyn i gyd,
Ei sel, *un* ffydd, *un* ARGLWYDD,
*Un* bedydd dros y byd;
*Un* enw glân folianna,
*Un* ymborth ynddi gawn,
Gan gyrchu at *un* gobaith
O ddoniau'r nef yn llawn.

3 Er yma'n nôd i ddirmyg,
A'i phen dan lawer tòn,
Gan sismau yn rhwygedig,
Heresiau'n clwyfo'i bron,
Ond gweddi gwylwyr Seion
Ddyrchafa'n gry'—"Pa hyd?"
A byr fydd nos wylofain,
Gorfoledd leinw'r byd.

4 Yn nghanol gorthrymderau,
A thwrf y rhyfel mawr,
Hiraethu mae am weled
Tangnefedd ar y llawr;
Nes troir ei ffydd yn olwg
I loni ei llygaid prudd,
A'r Eglwys orfoleddus
Mewn hedd yn ngwlad y dydd.

5 Ond yma mae mewn undeb
A DUW y TRI yn UN,
*Mewn dirgel* hardd gymundeb
*A seintiau'r* nef yn nglŷn:

O deulu glân a dedwydd!
O ARGLWYDD nertha ni
I esgyn gyda'r addfwyn
I'th bresenoldeb Di. Amen.

## 546

M. N.

1 SAIN Aleluia yw'r ddyledus lef;
Drychefwch ddinasyddion glân y nef,
Ddiddiwedd Aleluia!

2 Chwi sydd ger gorsedd y tragwyddol wawl,
Eich hymnol gorau a ddadseinio fawl
Diddiwedd Aleluia!

3 Eich odlau per a leinw'r ddinas lân,
A thrwyddi dyblir a dadseinir cân—
Diddiwedd Aleluia!

4 Cydganau'n adsain, tôn yn ateb tôn—
Fel hyn, mewn mawl olynawl, caiff yr Ion
Ddiddiwedd Aleluia!

5 Goncwerwyr wedi enill palmwydd drud,
Eich corganiadau nefol fydd o hyd
Diddiwedd Aleluia!

6 Mewn un mawreddog lef yn ngwlad y Gwawr,
Parhewch anrhydedd clod eich Brenhin mawr
Diddiwedd Aleluia!

7 *Hyn* yw gorphwysdra'r dychweledig blin,
*Ei fanna* nefol, a'i ddihysbydd win,
Diddiwedd Aleluia!

reawdwr pobpeth—Ogoneddus NER !
yninau roddwn, mewn caniadau per,
Ddiddiweddd Aleluia !
RIST HOLLGYFOETHOG, caiff ein lleisiau ni
y ogoneddu byth, a rho'wn i Ti
Ddiddiwedd Aleluia ! Amen.

7 M. N. 6. 4.

RHAN I.

1 MEWN 'stormydd o bob rhyw,
Mi ganaf tra b'wyf byw,
Calfaria mwy ;
Lle bu ein Ceidwad cu,
Yn nghanol t'wyllwch du,
Yn dyoddef drosom ni,
Calfaria mwy.

2 Agorwyd pyrth y nef,
Trwy rin ei Aberth Ef,
Calfaria mwy ;
Trysorau mawrion, drud,
Sy'n dod o hyd o hyd,
Yn rhad i euog fyd,
Calfaria mwy.

3 Mae miloedd ar y llawr
Yn canu'r anthem fawr,
Calfaria mwy ;
Mor hyfryd yw eu sain
Am ol y goron ddrain,
*A'r chwerw bicell fain,*
*Calfaria* mwy.

4 Y gair "Gorphenwyd" yw
Sail ymffrost Eglwys Dduw,
Calfaria mwy;
Ei air diweddaf Ef
Yw penaf dant y nef,
A chanant âg un llef,
Calfaria mwy.

5 Fry gyda'r seintiau glân,
Caf finau seinio cân,
Calfaria mwy;
Caf delyn aur y nef,
I chwareu'r anthem gref,
Gogoniant Iddo Ef,
Calfaria mwy. Amen.

RHAN II.

1 Yn yr Iorddonen ddofn,
Mi ganaf yn ddi-ofn,
Calfaria mwy;
Er ei hystormydd cryf,
A'i dirfawr dònog lif,
Mi ganaf ynddi'n hyf,
Calfaria mwy.

2 Pan elo'r byd ar dân
Calfaria fydd fy nghân,
Calfaria mwy;
Goruwch y fflamiau i gyd,
Esgynaf i well byd,
I ganu'n ber o hyd,
Calfaria mwy.

3 Ger bron yr orsedd-fainc
Caf daro'r felys gainc,
Calfaria mwy;
'Nol llosgo'r cread maith,
'R un eto fydd fy iaith,
I'r Oen, a'i werthfawr waith—
Calfaria mwy. Amen.

## 8 M. N. 7. 3.

1 CAED trefn i faddeu pechod,
Yn yr Iawn, yn yr Iawn,
Mae'r iachawdwriaeth barod
Yn yr Iawn;
Mae'r ddeddf o dan ei choron,
Cyfiawnder yn dweyd "Digon!"
A'r TAD yn gwaeddi "Boddlon!"
Yn yr Iawn, yn yr Iawn;
A "Diolch byth!" medd Seion,
Am yr Iawn.

2 Mae'r Oen fu ar Galfaria,
Wrth fy modd, wrth fy modd;
'R Efengyl, a'i thrysorau
Wrth fy modd:
Mae llwybrau ei orch'mynion,
A grym ei addewidion,
A chwmni'r pererinion,
Wrth fy modd, wrth fy modd,
*A hyfryd wleddoedd* Seion
*Wrth fy modd.*

3 Yn awr hen deulu'r gollfarn
Llawenhawn, llawenhawn,
Mae cymhorth ar Un Cadarn,
Llawenhawn;
Mae galwad heddyw ato,
Mae bythol fywyd ynddo,
Ni chollir neb a gredo,
Llawenhawn, llawenhawn,
Gan lwyr ymroddi iddo,
Llawenhawn. Amen.

# 549

M. N. 7. 3.

1 O ANLLYGREDIG ddinas!
Rho'th fwynhau, rho'th fwynhau
Anniflanedig deyrnas,
Rho'th fwynhau:
Y noddfa dawel hyfryd,
Lle ni ddaw poen nac adfyd;
O ddedwydd dir y bywyd!
Rho'th fwynhau, rho'th fwynhau,
Cartrefle fy Anwylyd,
Rho'th fwynhau.

2 'Does yma ond trai a llanw
I barhau, i barhau;
Ac yfed cwpan chwerw
I barhau.
Ond yn y Ganaan nefol,
Dim eisiau yn dragwyddol,

Caf ddysglaer ddyfroedd bywiol
   I barhau, I barhau,
A'i yfed yn wastadol
   I barhau.

3 Mae gwaredigaeth Seion
   Yn nesau yn nesau,
O canwn bererinion
   Mae'n nesau:
Mae'r haul yn rhifo'r dyddiau
Daw terfyn i'n blinderau;
Y wlad tu hwnt i angeu
   Sy'n nesau, sy'n nesau,
Yr etifeddiaeth oreu
   Sy'n nesau. Amen.

## 550 M. N. 7. 6. D.

1 O IESU! 'r wyt yn sefyll
   Wrth ddrws pechadur mawr,
Mewn cariad ac amynedd,
   Yn drist o awr i awr:
O g'wilydd i ni, frodyr,
   Dan arwydd nôd y Groes,
Ei gadw Ef tu allan
   Flynyddau goreu'n hoes.

2 O Iesu! 'r wyt yn curo,
   A'th ddwylaw'n greithiau dyfn;
A drain y goron greulawn

O gariad rhyfedd, rhyfedd,
I guro mae'n parhau!
O bechod cyndyn, cyndyn,
Yn cadw'r drws yn nghau!

3 O Iesu! 'r wyt yn dadleu
Mewn tyner lais yn syn—
"Fy mhlant, bu'm farw drosoch,
Paham y gwnewch fel hyn?"
O gwridwn, cywilyddiwn—
Nis gallwn gau yn hwy—
O tyred, Arglwydd Iesu,
Byth, byth, na âd ni mwy! Amen.

## 551 M. N. 8. 5. 3.

1 A WYT egwan a blinedig,
Neu mewn trallod trist?
"Tyred ataf fi, medd calon
Iesu Grist."

2 Pa arwyddion sydd y cymer
Fi druenus ddyn?
"Gwel yr olion o'i ddyoddefaint
Ef ei Hun."

3 A oes ar Ei Ael Frenhinol
Ddysglaer goron gain?
"Oes yn wir, ond hono ydyw'r
Goron ddrain."

4 Os dilynaf Ef, pa gyfran
Gaf yn nglyn fy oes?
"Llawer gofid, llawer llafur,
Llawer loes."

5 Os y glynaf wrtho'n ffyddlawn,
Beth fydd diwedd hyn?
"Diwedd gofid, diwedd llafur,
Croesi'r glyn."

6 Os gofnaf iddo'm derbyn,
A omedda Efe?
"Na wna, nes yr elo heibio
Ddae'r a ne'."

7 A oes sicrwydd am y fendith
Wedi cario'r groes?
Llu y nef yn unllais unllef
Dd'wedant, "Oes."
Amen.

## 2 M. N. 7. 7. 7. 3.

CLYW'R gwarcheidwol angel claer,
"Gristion! gwisg arfogaeth ffydd;
Gwylia a gweddïa'n daer
Nos a dydd."

T'wysogaethau'r t'wyllwch mawr
Yn ymgynllwyn iti sydd,
*Gwylia a gweddïa'n* awr
Nos a dydd.

3 Goddef wres y dydd a'i bwys,
Taledigaeth fawr a fydd;
Gwylia a gweddïa'n ddwys
Nos a dydd.

4 Clyw'r buddugol luoedd fry,
Ddaeth o'r cystudd mawr yn rhydd:
Gwylia a gweddïa'n hy'
Nos a dydd.

5 Clyw! goruwch eu lleisiau hwy
Lais Perffeithydd Mawr dy ffydd;
Gwylia a gweddïa fwy
Nos a dydd.

6 Gwylia'n effro ar y gaer,
Yn y nef gorphwysfa fydd;
Gwylia a gweddïa'n daer
Nos a dydd. Amen.

## 553 M. N. 9. 8.

1 O ARWAIN fy enaid i'r dyfroedd,
Y dyfroedd sy'n afon mor bur;
Y dyfroedd a dorant fy syched,
Er trymed fy lludded a'm cur:
Y dyfroedd tragwyddol eu tarddiad,
Y dyfroedd heb waelod na thrai;
Y dyfroedd a olchant fy enaid
*Er dued ac amled fy mai.*

*Da iawn* i bechadur fod afon
*A ylch* yr aflanaf yn wyn;

Hi darddodd o'r nefoedd yn gyson,
  Hi ffrydiodd ar Galfari fryn;
Hi lifodd i'r anial cenhedlig,
  Hi olchodd fil miloedd yn lân;
Hi ylch ei miliynau'n llwyr ganaid,
  Cyn rhoddi llawr daear ar dân.

O deuwch, O deuwch i'r dyfroedd!
  Mae CRIST yn ein gwahodd yn gu;
I yfed o'r afon redegog
  Sy'n tarddu dan riniog y tŷ:
Oddiyno mae'r afon sy'n addas
  I loni hardd ddinas ein DUW,
Yn llifo yn ffrydiau diddiwedd,
  O'r ffynon sy'n beraidd ddwr byw. Amen.

## 54 M. N.

1 PARADWYS, O Baradwys wen!
    Pwy na hiraethai fod,
  Yn gorphwys yn dy lenyrch teg,
    Mewn purdeb uwch y rhôd?
  Lle mae y dyrfa fawr,
    Yn y goleuni gwiw,
  Yn ddysglaer fel y wawr,
    Yn mhresenoldeb DUW.

2 Paradwys, O Baradwys wen!
    Heneiddio mae y byd;
  O na chawn deimlo'r cariad pur
    *Sy'n dal* ei wres o hyd!
      *Lle mae* y dyrfa fawr, &c.

3 Paradwys, O Baradwys wen!
'R wy'n flin ar fyd o wae,
Mewn hiraeth mawr am weled gwedd
Fy IESU fel y mae:
Lle mae y dyrfa fawr, &c.

4 Paradwys, O Baradwys wen!
Heb bechod, O na bawn!
Chwi seintiau glân y nefol gor,
Eich purdeb, O na chawn!
Lle mae y dyrfa fawr, &c.

5 Paradwys, O Baradwys wen!
Dymunwn groesi'r lli'
Yn llaw fy Mrawd, i wel'd y lle
A barotow'd i mi:
Lle mae y dyrfa fawr, &c.

6 Paradwys, O Baradwys wen!
Dy gariad, IESU cu,
A'm dygo'n ddyogel ar fy nhaith
I'r lân orphwysfa fry;
Lle mae y dyrfa fawr,
Yn y goleuni gwiw,
Yn ddysglaer fel y wawr,
Yn mhresenoldeb DUW. Amen.

## 555 M. N.

1 CLYW, f'enaid, clyw angylaidd dôn yn esgyn
*Dros* ddolydd gwyrdd, a glanau'r eigion
*pell,*

A melys iawn yw'r gwynfydedig destyn,
  Sef Bywyd pur y nefol wlad sydd well:
Engyl yr Iesu, engyl y dydd,
Ganant i roesaw y pererinion prudd.

Awn, awn yn mlaen, clywch adsain cân yr
    engyl,
  "Dewch, deithwyr blin," medd Iesu,
    "tua'ch gwlad":
A thrwy y nos hyfrydlais yr Efengyl
  A'n harwain fry i dawel dŷ ein Tad:
Engyl yr Iesu, &c.

Draw, draw yn mhell, fel melys glychau'r
    gosper,
  Llais Iesu ddaw dros dir a môr mewn swyn:
A miloedd llwythog droant, yn eu blinder,
  I'th geisio Di, O nefol Fugail mwyn!
Engyl yr Iesu, &c.

Cawn orphwys, cawn, ar ol helbulon bywyd,
  Cawn fore teg ar ol y cyfnos du;
Caiff gyrfa ffydd derfynu'n nghroesaw gwynfyd,
  A'r galon lân ei chartref bythol fry:
Engyl yr Iesu, &c.

Angylion cu! O cenwch tra'n ein gwylio!
  T'rewch ambell dant i loni plant y nos;
Nes toro gwawr y wlad lle nad oes wylo,
  Na chwmwl *byth yn* duo'r wybren dlos.
*Engyl yr Iesu, &c.* Amen.

## 556

M. N.

1 YN nes, fy Nuw i Ti,
Nes atat Ti;
Er trymed fyddai'r groes
A'm codai i:
Hyn fo fy nghân a 'nghri—
Yn nes, fy Nuw, i Ti,
Nes atat Ti.

2 Pe bawn ond crwydryn gwael
Heb haul na lloer,
Yn gorphwys yn y nos,
Ar gareg oer:
Mewn breuddwyd deuwn i,
Yn nes, fy Nuw, i Ti,
Nes atat Ti.

3 Gwna'm ffordd fel grisiau fry,
I dŷ fy Nhad;
A phobpeth roddi, rho'n
Drugaredd rad:
A dyged engyl fi,
Yn nes, fy Nuw, i Ti,
Nes atat Ti.

4 Pan ddeffry f'enaid drud,
Gan fawl yn dân;
O'm gorthrymderau blin,
Gwnaf *Fethel* lân:
A dwyn fy ngofid fi,
Yn nes, fy Nuw, i Ti,
Nes atat Ti.

5 A phan, gan rwygo'r llen,
Ehedaf fry;
Uwch haul, y lloer, a'r ser,
I'r nefol lu:
Hyn fydd fy nghân a 'nghri—
Yn nes, fy Nuw, i Tì,
Nes atat Ti: Amen.

## 557 M. N. 10. 10. 10. 10.

1 O'R fath orfoledd gogoned, mewn braint,
Trwy'r holl Sabbathau di-ddiwedd, ga'r saint!
Coron i'r dewr, a gorphwysfa i'r gwan,
Duw a foliannant, a Duw fydd eu rhan.

2 Beth yw y Brenhin, ei Orsedd, a'i Lys?
Beth yw eu hedd a'u gorfoledd di-lys?
Gwyn fyd na chlywem adroddiad y saint,
Cariad, a moliant, ei fwyniant, a'i faint.

3 Enwi Jerusalem, cartref ein Tad,
Sydd yn orfoledd, a hedd, a mwynhad;
Erfyn, cyflawni—mae'r ddau yn gytun—
Gweddi ar Dduw sydd yn ateb ei hun.

4 Yno, lle nad oes un trallod i dd'od,
Canwn anthemau hen Seion mewn clod:
Am rin Dy ras O ein Arglwydd a'n Ior,
Dy saint a'th folant ac unant mewn cor.

5 Ni fydd na gwawr na machludiad i'r dydd;
Sabbath di-ddechreu, di-ddiwedd, a fydd;
*Un fydd y gân* a'r holl gydgân i gyd;
*Engyl a ninau'n* moliannu yn nghyd.

6 Yn y cyfamser cyfodwn ein llef,
Gyda dyheuad am fyned i'r nef;
Ceisiwn Jerusalem nefol mewn ffydd,
Tra mewn alltudiaeth yn Mabilon brudd.

7 ARGLWYDD! ymgrymwn o'i flaen yn ddi-feth—
Trwyddo ac erddo y gwnaethpwyd pob peth;
DAD, MAB, ac YSPRYD, y TRI'n ddiwahân,
Achub ein bywyd a derbyn ein cân. Amen.

## 558 M. M. 8. 8. 8. 8. 8. 8.

1 IESU, fy IOR, fy NUW, fy oll
O gwrandaw lefain un ar goll;
Clyw fi o'th drigfan, nefol Dad,
Ac arllwys ynwyf rin Dy rad;
IESU, fy IOR, tra ynwyf chwyth,
Dysg fi i'th garu'n fwy-fwy fyth!

2 IESU, rhy oer y'th geisiais Di,
Gwresoga serch fy enaid i;
Dysg fi i ddyrchu'th fawl i'r byd,
A'th ogoneddu'n fwy o hyd:
IESU, fy IOR, &c.

3 IESU, pa beth a welaist Ti
A haeddai'th gariad ataf fi?
Cariad tu hwnt i feddwl dyn,
Tu hwnt i Obaith cryf ei hun!
IESU, fy IOR, &c.

4 IESU, am danat boed fy nghân,
O enaid ac o galon lân;

Pob peth a feddaf derbyn Di;
Bydd Dithau'n eiddo byth i mi:
IESU, fy IOR, &c. Amen.

## 9 M. N. 8. 8. 8. 8. 8. 8.

DUW mawr y rhyfeddodau maith,
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith;
Ond Dwyfol ras, mwy rhyfedd yw
Na'th holl weithredoedd o bob rhyw;
Pa DDUW sy'n maddeu fel Tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni!

O maddeu'm holl gamweddau mawr,
Ac arbed waelaidd lwch y llawr,
Hyn yw Dy nefol oruwch nod,
Ac ni chaiff arall ran o'r clod;
Pa DDUW, &c.

Rhyfeddol yw'th drugaredd hael,
A'th gariad pur i'n natur wael;
Yn agor ffynon i'n glanhau,
A'n golchi'n bur oddiwrth ein bai;
Pa DDUW, &c.

O boed i'r gras anfeidrol gwiw,
A'r gwyrthiau mawr o gariad DUW,
Byth lenwi'r ddaear faith â'th glod,
Hyd nefoedd fry, ar beraidd nod;
Pa DDUW, &c. Amen.

# Swper yr Arglwydd.

## 560 M. N. 10. 10.

1 NESEWCH, cymerwch Gorph eich HARGLWYDD CU,
A'r Gwaed a lifodd drosoch yfwch chwi.

2 Cadwedig trwy ei werthfawr Gorph a'i Waed,
A chalon lawn diolchwn am ei rad.

3 Trwy rin ei Grog a'i Ddyoddefaint drud,
Enillodd IESU fywyd i'r holl fyd.

4 Offrymodd Ef ei Hun dros fawr a mân—
Ei Hun yn Aberth ac Offeiriad glân.

5 Aberthau gwan y gyfraith yn gytun
Gysgodent berffaith Aberth Mab y Dyn.

6 Gwaredodd ni rhag angeu, ac fe rydd
I'w saint ei ras yn nerth o ddydd i ddydd.

7 Nesewch â chalon bur, nesewch yn nghyd,
I brofi gwystlon iachawdwriaeth ddrud.

8 Efe, yr Hwn sydd yn ei saint yn byw,
I'r neb a gred, tragwyddol fywyd yw.

*9 Rhag* newyn i'r anghenus ymborth fydd,
*Y bara* o'r nef, a'r dyfroedd bywiol rydd.

Anfeidrol ARGLWYDD pob creadur sy,
Rhown groesaw 'n awr i'th Bresenoldeb Di.
Amen.

## 561 M. N. 10au.

ADDOLWN Di, guddiedig Geidwad, Ti
'R Hwn yn Dy Swper yn bresenol sy;
Llesg gnawd ac yspryd ballant ger Dy fron,
Ond yma rho'wn it', ARGLWYDD, groesaw llon.

O hyfryd gof am angeu CRIST ein Pen!
Y Bara bywiol rydd i ni o'r nen:
Boed i ni byth ymborthi arnat Ti,
A Thi, o GRIST, fo'n anwyl byth i ni.

O Ffynon bur pob rhinwedd, CRIST ein Duw,
A'th Waed golch ni, aflanaf rai ein rhyw:
Mwy ffydd, mwy serch rho ini, Geidwad hael,
A'r hedd a'r gobaith sy ynot Ti i'w cael.

O GRIST, yr Hwn yn awr a geir dan len,
Prif-nod ein serch, bydd Di ein Rhan uwch nen;
Gad ini wel'd Dy wedd ddi-gudd—mor ber
Fydd golwg ar D' ogoniant Di, ein NER. Amen.

## 562 M. N. 8. 7. 4.

1 GWAED y groes sy'n codi' fyny
'R eiddil yn goncwerwr mawr;
Gwaed y groes sydd yn darostwng
Cawri cedyrn fyrdd i lawr.
*Gad im'* deimlo.

2 Mi ddysgwyliaf, doed a ddelo,
Deued bore, dued nos,
Deued corwynt a thymhestloedd,
Nes cael profi gwaed y groes:
Gwel'd Dy glwyfau
Yw'r ddedwyddaf awr i mi.

3 Ymddiriedaf yn dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wnest erioed;
Cefaist angeu, cefaist uffern,
Cefaist Satan dan dy droed:
Pen Calfaria!
Nac aed hwnw byth o'm cof.

4 Cofio am farwolaeth IESU,
O mor hyfryd ydyw'r gwaith!
Dechreu yma ar y ddaear,
Para i dragwyddoldeb maith:
Aleluia!
Dyma iachawdwriaeth lawn. Amen.

## 563* M. N. 12. 11.

RHAN I.

1 TI, O DAD Mawreddog, 'n ufudd ia[illegible]
addolwn,
Egwan bechaduriaid y'm yn D' olwg Di;
Eto'n ostyngedig ger Dy fron ymblygwn
Bawb, gan ddadleu'n ffyddiog Aberth IESU [illegible]

* Caner Rhan I. o'r Hymn hon gyda Rhan II. [illegible]
Rhan III.

2 Yno wrth Dy orsedd wen, O DAD, yn pledio
Hwn yn hy', fel unig sail ein gobaith gwiw:
Ac mewn blys am rodd Dy hedd, gan daer weddïo,
Coffa wnawn o Aberth CRIST i Ti, ein Duw.

RHAN II.

3 I'n cyd-bechaduriaid 'r ydym yn adgofio—
Testyn yr Efengyl bur mewn darlun yw—
Yn y Glân Fendigaid Gymun, oni ddelo,
Anmhrisiadwy Aberth IESU GRIST Oen DUW.

4 Dros ei hoff aelodau y mae'n awr yn eiriol
Fry, mewn goleu dysglaer, pell o olwg dyn;
Ond i borthi ei ffyddlon blant y mae'n bresenol—
Y gwir Aberth, Bara'r bywyd, yma ei Hun.

5 Deuwn ninau, DAD grasusol, yn grynedig,
I gael profi'th roddion gwerthfawr sy mo[r] gu;
Rhai na chym'red neb â dwylaw halogedig,
Maeth f'o ini ar Aberth Cymeradwy i Ti.
Aleluia. Amen.

RHAN III.

6 Ar y Groes bu farw o gariad pur at ddynion,
Beth! wnawn ninau ddim ond sefyll dan ein cwyn?

Na! rhown gorph ac enaid iddo, ei ofynion;
Nefol DAD ein Haberth derbyn er Ei fwyn.

7 'N awr ar Dy ddeheulaw, uchaf le gogonedd,
Pan yr ofna'n henaid godi atat Ti,
IESU sy'n teyrnasu yno mewn gorfoledd,
Corau'r nefoedd, molant hwy ei Aberth cu.

8 Ninau a'th addolwn, Geidwad mwyn tosturiol,
Mawl i'r Oen a roddwn, 'r Hwn sydd wrth y llyw;
Ynot mae trugaredd, cariad anghydmarol!
Clod f'o byth i Ti, ein hunig Abeth gwiw.
Aleluia! Amen.

## 564 M. N. 8. 7. 4.

1 ALELUIA! mawl i'r IESU,
Ar orseddfainc nef y nef;
Aleluia! buddugoliaeth
Fyth sy'n eiddo iddo Ef:
Clywch ganiadau hyfryd Seion
Yn taranu megys lli'
Trwy'r holl wledydd, Gwaed yr IESU,
Gwaed y groes a'n pynodd ni.

2 Aleluia! ni 'n gadewaist,
Yn amddifad ar y llawr;
Aleluia! yn y canol,
*Ffydd* a'th genfydd yma'n awr;
*Er i'r cwmwl* ar Olewydd,
*Guddio*'th anwyl wedd a'th bryd,

Byth y cofiwn "Wele'r ydwyf
Gyda chwi hyd ddiwedd byd."

3 Aleluia! Bara'r engyl,
Ymborth nefol ynot sydd;
Aleluia! ffŷ y truan
Atat Ti o ddydd i ddydd:
Eiriol drosof, O fy Mhrynwr,
Cyfaill pechaduriaid clyw,
Lle y daw, dros fôr o risial,
Per alawon meibion Duw.

4 Aleluia! Brenhin Seion,
Nefoedd yw'th orseddfainc Di;
Aleluia! Mab y Forwyn,
'Stol Dy draed yw'n daear ni:
Fry ein Harchoffeiriad ydwyt,
Brawd i ni yn ngwlad yr hedd;
Yma'n faeth ysprydol ini,
Yn y nefol sanctaidd wledd.

5 Aleluia! mawl i'r Iesu,
Ar orseddfainc nef y nef;
Aleluia! buddugoliaeth,
Fyth sy'n eiddo iddo Ef:
Clywch ganiadau hyfryd Seion,
Yn taranu megys lli',
Trwy'r holl wledydd, Gwaed yr Iesu,
*Gwaed y groes* a'n prynodd ni.

Amen.

R Q 2

# Wythnosau y Cydgoriau

## 565 M. C.

1 BYDD Fugail Dy fugeilwyr, DDUW,
Sydd yn bugeilio'th wyn ;
Detholent wir fugeiliaid dros
Dy ddeadelloedd mwyn.

2 Y deuddeg a ordeiniaist, GRIST,
Pan oeddit drist Dy wedd ;
Fel hwy boed i'w holynwyr oll
Reoli'th braidd mewn hedd.

3 Bendithia, IESU, â doniau gwiw,
Bob gradd o'th weision dwys—
Athrawiaeth lân, ddihalog, bur,
A'th Air o ddwyfol bwys !

4 O cyffwrdd eu gwefusau hwy,
A'r tân Dy Allor rydd !
Rho nawdd a chymhorth i bob un,
A nerth yn cl y dydd !

5 O YSPRYD GLAN, Eneinydd, tyr'd,
A'th Hunan llenwa oll,
A gwneler Dy ewyllys, DAD,
Trwy'r byd i gyd heb goll.

6 Ac yna cyfyd yn mhob man,
*Trwy* bedwar ban y byd,
*Unedig* lais unedig lu—
*Dy deulu'n* un yn nghyd. Amen.

# Elusengarwch

## 566 M. N. 8. 8. 8. 4.

1 TYDI, O ARGLWYDD, Brehin nef,
Ac ARGLWYDD môr a daear gref,
Dysg ni i'th foli ar lafar lef,
Y Rhoddwr Mawr!

2 Yr heulwen glaer, yr awel ber,
Pob hyfryd ffrwyth o dan y ser,
A'n dysgant i glodfori NER—
Y Rhoddwr Mawr!

3 Am iechyd a chartrefi clyd,
A'r holl fendithion gawn yn nghyd,
Moliannwn Di â llawen fryd,
Y Rhoddwr Mawr!

4 Gan iti ro'i Dy Fab Dy Hun
Yn Brynwr i golledig ddyn,
Ti roddi, gyda'r Sanctaidd Un,
Bob rhoddion mawr.

5 Tydi sy'n rhoddi'r YSPRYD GLAN,
Yn Yspryd cariad, nerth, a chân,
A'i holl fendithion heb wahân,
Yn rhoddion mawr.

6 Am faddeu i ddyn, a'i brynu ef,
Am foddion gras, a gobaith nef,
*Clodforwn Di* â gwylaidd lef,
*O Roddwr Mawr!*

7 Nid elw yw'r hyn a waria dyn
Ar bethau i'w foddhau ei hun:
Dysg ini roddi yn gytun
I'n Rhoddwr Mawr!

8 Beth bynag, ARGLWYDD, ro'wn i Ti,
Ddaw'n ol yn filfil elw i ni;
Gan hyny rho'wn yn hael i'n RHI—
Ein Rhoddwr Mawr!

9 Gan ini dderbyn doniau'r nef,
Glanhaer a gwnaer ein ffydd yn gref;
Nes caffom drigo gydag Ef—
Y Rhoddwr Mawr! Amen.

## 567 M. N. 8. 7. D.

1 IOR gogoniant, pan y telaist
Bridwerth ein gollyngdod llawn;
Gwaed Dy galon ni omeddaist—
Dirfawr bris! anfeidrol Iawn!
Daeth yn rhagor fyrdd o ddoniau,
A Dy law haelionus, IOR;
A di-rif Dy drugareddau,
Megys tywod mân y môr.

2 Dyro barod galon ini,
*Roddi*'n ol o'th eiddo'n llon,
*Ac*, â heulwen Dy ddaioni,
*Tawdd* ein hoer a'n caled fron.

Credwn, am elusen cariad,
Hynod air ein HARGLWYDD ni,
Mai dedwyddach ydyw'n wastad,
Gael ei rhoi na'i derbyn hi.

3 Mawr anrhydedd, ARGLWYDD, roddaist,
Ar ein gwael offrymau syn;
A rhyfeddol y dywedaist,
"Er fy mwyn y gwnaethoch hyn."
Wyt Ti'n gofyn, IOR daionus,
Am ein cyfraniadau ni,
Gan ddywedyd "I'r truenus
Rhoddwch, fel y rhoed i chwi."

4 Mae'r anghenion a'r trallodion
Ar bob llaw ganfyddwn ni,
Yn rhedleoedd i'r offrymau
Sy'n ddyledus byth i Ti;
Dyled y'nt, a rhaid eu talu,
Nid oes dewis ar ein llaw;
Rhag i'th wyneb grasol wgu
Arnom yn y Dydd a ddaw.

5 ARGLWYDD IESU, Ti a'n prynaist,
A Dy briod waed yn Iawn,
Yn wirfoddol à dywelltaist,
Ar y Croesbren un prydnawn;
Dyro ffydd ddiffuant ini,
Gobaith da drwy ras di-goll,
*Cariad* pur, yn llawn tosturi,

# Cymdeithasau Cyfeillgar.

## 568 M. B.

1 CLODFORWN enw'r IOR,
Sy'n rhoi i bawb yn rhad,
O'i nefol annherfynol 'stor,
Mor dirion yw ein TAD!

2 Ac fel mae DUW pob dawn
Yn cadw pawb yn fyw,
Boed ein mynwesau ninau'n llawn
O serch at ddynolryw.

3 Plant ydym o'r un TAD,
A brodyr o'r un bru,
Yr un yw'n genedigol wlad,
A'n cartref bythol fry.

4 Trwy garu DUW Ei Hun
Fe garwn les ein brawd;
Beth bynag fyddo'i liw a'i lun,
Fe deimlwn dros y t'lawd.

5 Gwaith cyson IESU GRIST
Oedd lleddfu poen a chur;
A gwin y nef i'r clwyfus trist
Yw cydymdeimlad pur.

6 O uner ninau 'nawr,
A thrwy flynyddau'n hoes,
Yn nghariad dwfn y Galon fawr
A gurodd ar y groes!

7 Ti Farnwr gweddwon gwael,
Tad yr amddifaid clyw!
Dy nawdd a'th nerth boed ini gael,
Nes delom fry i fyw. Amen.

# Marwolaeth a Chladdedigaeth

## 69 M. N. 8. 7. 4.

1 TORF o'm brodyr sydd yn gorwedd,
Yn y bedd, anghofus dir;
Yn y dyffryn lle maent hwythau,
Byddaf finau cyn bo hir:
Lle na chlywir
Dim o swn trafferthion byd.

2 Pan f'o golud a meddiannau,
A chysuron byd yn ffoi;
Pan f'o dyfroedd oerion angau
O fy amgylch yn crynhoi;
Gwenau IESU
Ddeil i fyny f'enaid gwan.

3 Gwyn eu byd y rhai sy'n meirw
Yn yr ARGLWYDD, gwyn eu byd;
Maent yn gorphwys yn y porthladd
Fuont yn ei ddysgwyl cy'd:
*Gwell yw yno,*
*Deng mil gwell* na chyda ni.

4 Nid oes gofid na therfysgoedd,
Nid oes achwyn o un rhyw,
Nid oes trallod, poen na galar,
O fewn trigfan bur fy Nuw:
Cariad perffaith
Sydd yn llenwi'r hyfryd wlad. Amen.

## 570 M. S.

[CLADDEDIGAETH PLENTYN.]

1 AETH diniweidrwydd at ei Dduw,
Dros fyth i fyw'n ei burdeb;
I fyd geuogrwydd ni ddaw'n ol,
Trwy gydol tragwyddoldeb.

2 O! trown yn ol, ail byddwn blant,
Gan droi pob trachwant ymaith;
Gan fyw dan ddeddfau'r dwyfol Dad
Yn rhwymau cariad perffaith.

3 Daw felly'r dydd, a'n plant a gawn,
I'n breichiau'n llawn llawenydd;
Mewn diniweidrwydd i gyd-fyw
A chyda Duw'n dragywydd.

4 Cawn ni'n rhyddhau o'n cyflwr caeth,
O'n llygredigaeth marwol;
Cawn! ac i ryddid meibion Duw—
Cawn yno fyw'n dragwyddol. Amen.

[redacted]



# Cynhauaf.

---

M. N. 7au. 8ll.

'I ddiolchgar bobl dewch,
'ewn sain moliant llawenhewch,
, cnwd mewn addas hin,
stormydd gauaf blin :
falodd yn ddi-baid,
nwi eich holl raid :
, O dewch i'w deml lân,
dyrchefwch iddo gân.

i godi ffrwyth i Dduw,
a mawl, a diolch gwiw,
r ddaear—ynddi mae
efrau wedi'u hau :
ldfedo'r had ar awr
; yr Adgyfodiad Mawr,
'ydd Bywyd, gad i ni
ı sanctaidd gnwd i Ti.

lom oll y daw y Dydd
erir plant y ffydd
ac y bwrir draw
lendid, trais, a braw ;
ura'r Angel-lu
'r efrau'n uffern ddu ;
ffrwythlon ŷd, yr Ior
mewn i'w nefol 'stor.

4 Clyw, O Dduw trugaredd! clyw,
Fawl Dy weision, gweddus yw;
Casgla Di Dy saint yn nghyd,
Rhag y diafol, cnawd, a byd:
Boed in', bawb, yn Nheml nef,
Dy foliannu âg un llef;
Boed i fyrdd o engyl glân,
Ganu'n awr y Ddiolch-gân. Amen.

## 572 M. N. 8. 7. D.

1 O MOR hyfryd, Arglwydd tirion,
Ydyw coffa'th ddoniau maith;
Dy glodfori am Dy roddion,
Byth a fydd fy hoffaf waith;
Trwy bob awr o'm pererindod,
Dy ddaioni fydd fy nghàn;
Canaf, ddydd a nos yn wastad,
Deilwng glod i'm Harglwydd glân.

2 Aleluia fo'n dyrchafu,
O bob genau yn ein gwlad;
Aleluia byth heb dewi,
F'o i Ti, ein Nefol Dad;
O'th diriondeb hael eleni
Cawsom helaeth gnwd y maes—
Porthiant iachus er ein maethu—
Rhyfedd yw haelioni'th ras!

3 Na foed neb trwy'r greadigaeth,
*Heb* Dy barchu Arglwydd mawr
*Un* mor dda, Un mor ofalus,
Am breswylwyr daear lawr;

Doed pob tafod, doed pob calon,
Gyda gwres i foli'r Iôr;
Seinier clodydd i'r Goruchaf,
Trwy bob gwlad—o fôr i fôr. Amen.

## 73

M. C.

1 O Arglwydd Iôr, nawdd nynolryw,
Wyt nerth i weiniaid gwael;
Pa beth yw dyn i Ti, O Dduw,
I'w gofio ef mor hael!

2 Er bygwth barn am feiau'n gwlad,
Rhoist in' ymwared clau;
O bydded Dy fendithion rhad,
Yn foddion i'n gwellhau.

3 Dy drugareddau o bob rhyw
Sy'n llenwi'r ddaear oll;
Nis gall y doethaf ddyn, O Dduw,
Eu rhifo yn ddi-goll.

4 Ni gawsom hyfryd amser hau,
A dyddiau gwerthfawr iawn;
I faethu cnwd ein tir rho'ed tes,
A gwres i ffrwytho'r grawn.

5 Dyrchafwn glod ar uchel gân,
I enw glân ein Iôr;
Mae cnwd y ddaear genym ni,
O'i fawr dosturi'n 'stor.

6 Gogoniant, moliant f'o ar gân,
I'n hael Gynhaliwr ni—
*Y Tad, y Mab*, a'r Yspryd Glân,

## 574

M. N. 6. 5. 6. 5. D.

1 SANCTAIDD ydyw'r Gauaf, a'r claddedi[g]
had
Gwsg o dan y cwysau, mewn ymfarwhad;
Sanctaidd ydyw'r Gwanwyn, a'r adfywiol ŷd
Ddeffry fel y wawrddydd hawddgar iawn [ei]
bryd.

2 Sanctaidd yw'r Cynhauaf, a'r addfedol dwys
Blygant ben i'r cryman—euraidd ŷnt, a glwys
Cesglwch hwynt i'r 'sgubor, nithiwch hwyn[t]
yn lân,
Rhowch i Dduw ogoniant, llafar fawl a chân.

3 Sanctaidd had a heua'n Meistr yn ddigoll,
Sanctaidd ffrwyth cynyrched ein calonau oll
Sanctaidd gyrph fo'n gorphwys dan ein beddo[-]
garn
Felly, nes y cano udgorn mawr y farn.

4 Bydded y gogoniant i'r Tragwyddol Dad,
Ac i'r Mab y moliant—heuodd Ef yr had—
Mawl i'r Yspryd roddes gynydd ar y gwaith—
Bydded y gogoniant yn mhob oes ac iaith.
Amen.

## 575

M. N. 8. 7. 4.

1 CORON hardd ro'ist ar y flwyddyn,
Coron o ddaioni llawn,

Ior amrywiol yw'r bendithion,
Ynddi yn cyfarfod gawn:
Delw'r nefoedd,
Yn ymddangos arni sydd.

Ti ddyferaist frasder maethlawn,
Ar ein daear, dirion Dad;
Cnwd ein meusydd alwai arnom,
I'th glodfori drwy y wlad:
O na roddem,
Fel y dylem, glod i'th ras!

3 Ymwregysu wnaeth ein bryniau
A hyfrydwch pur yn nghyd,
Bloeddiai'r holl ddyffrynoedd prydferth,
O dan orchudd tew o ŷd,
Gan roi moliant,
I Dy Enw mawr Dy Hun!

4 Byth i'r Tad y b'o gogoniant,
Clod a moliant, parch a bri,
Ac i'r Mab a'r Sanctaidd Ysbryd,
Heb wahan yn Un a Thri;
Byth heb ddiwedd,
Fel o'r dechreu, seinia'u clod. Amen.

## 576 M. S. D.

1 I TI dyrchafwn, Arglwydd mau.
Galonau addoliadol;
I *Ti y dygwn* ebyrth mawl,
*Gorfoledd* dyrchafiadol:

Y meusydd wisgant wisgoedd aur,
  Y bryniau orfoleddant;
Yr ŷd orchuddia'r dolydd claer,
  A hwythau oll a ganant.

2 Ar wyl ein gwynfyd hyfryd hon
  Cyffeswn Dy haelioni;
Ac ar Dy Allor rho'wn yn llon
  Y blaenffrwyth o'th ddaioni;
Tydi sy'n porthi'r enaid gwan,
  A rhoddion gras dedwyddol;
A chyda bara'r corph, rho ran
  O'r Bara sy dragwyddol.

3 Nyni a ddygwn faich y dydd,
  A'n llafur sy flinderus;
Ond wedi llafur, melys fydd
  Gorphwysfa i'r hyderus:
A phan y darffo'r medi mawr,
  Gan Engyl bendigedig,
Gwna ni'n ysgubau Crist, yr awr
  Y cesgli'r Etholedig.

4 O! mor fendigaid gwlad ein Duw,
  Lle trig y saint yn hyfryd!
Lle treigla'r grisial ddyfroedd byw,
  Trwy feusydd aur y Gwynfyd!
Mae holl ganiadau'i thyrfa lân,
  A'n mawl yn awr mewn undeb;
Byth-fendigedig fydd y gân,
  A bery i dragwyddoldeb. Amen.

## 77 M. S.

1 YMWELED, ARGLWYDD, yr wyt Ti
A'n daear ni'n rasusol;
Dyfrhau yr wyt ei mynwes wyw
Ag afon Duw'n fendithiol.

2 Mae'th afon lawn o ddwfr a'i rhin,
Yn cyfoethogi'n daear;
Yr wyt, âg ŷd, mewn grasol drefn,
Yn llenwi cefn a thalar.

3 Dyfrhau yr ydwyt rychau hon,
A mwydo'i sychion gefnau;
Dïodi hi â'th gafod flith,
Rho'i fendith ar ei chnydau.

4 Coroni'r wyt y flwyddyn gron,
A'th hael fendithion beunydd;
Difera'th lwybrau'r gwlaw a'r gwlith
Yn frasder blith i'r meusydd.

5 Gwisgir â defaid ddol a bryn,
Pob pant a dyffryn hwythau
Guddir âg ŷd, a bloeddio wnant,
A chanant am eu ffrwythau.

6 I'r TAD, ar MAB, a'r YSPRYD GLAN,
Dyrchafer cân clodforedd;
Fel *gynt yr oedd*, y mae'n ddilyth,
*A phery byth* heb ddiwedd. Amen.

# 578

M. N.

1 NYNI sy'n troi y meusydd,
 Nyni sy'n hau yr had;
Ond Duw sy'n rhoi y cynydd—
 Gwres a chafodau mad;
Er meithrin y dywysen,
 Fe ddenfyn wynt a gwlaw,
Y tes a'r oerni hefyd—
 Pob peth oddiwrtho ddaw.
  Rhoddion rhad a gwerthfawr,
   O'r nef sy'n dod i lawr:
  I Ti, O DAD, diolchwn am
   Dy gariad mawr.

2 Efe yn unig greodd
 Y pethau mân a mawr;
'Fe ro'dd ei liw i'r rhosyn,
 A blodau heirdd y llawr:
'Fe lywia lwybrau'r gwyntoedd,
 Y tònau'n [illegible]add sydd:
'Fe bortha adar nefoedd,
 I ni ein bara rhydd.
  Rhoddion rhad, &c.

3 I Ti, O DAD, diolchwn
 Am roddion da diri'—
Am anser hau a medi,
 Am fwyd ac iechyd cu:

O derbyn 'nawr ein hoffrwm—
Ein diolch-rodd i Ti,
Y rhodd sy wrth fodd Dy galon—
Ein hufudd galon ni.
Rhoddion rhad, &c. Amen.

---

# Gorymdeithiol.

---

## 79

M. N. 6. 5. D.

1 AWN yn mlaen fel byddin,
Awn yn mlaen mewn ffydd;
Wele Croes ein IESU,
I'n blaenori sydd.
CRIST ein Teyrn a'n tywys,
Cryn pob gelyn cryf;
Mae baneri'n Blaenor,
'Mlaen yn chwyfio'n hyf.
Awn yn mlaen fel byddin,
Awn yn mlaen mewn ffydd;
Wele Croes ein IESU,
I'n blaenori sydd.

2 Arwydd buddugoliaeth
Wna i Satan ffoi;
Ninau, filwyr Seion,
Drechwn, heb ymdroi:
*Seiliau* uffern grynant,
*Gan* glodforus floedd

Brodyr yn cyd-ddyrchu
Anthem mawl ar g'oedd.
Awn yn mlaen, &c.

3 Eglwys DDUW a symud
Fel banerog lu;
Frodyr, ninau sangwn
Lwybrau'r saint a fu;
Un cyfangorph ydym—
Undeb di-wahân—
Un mewn gobaith, cariad,
Ac athrawiaeth lân.
Awn yn mlaen, &c.

4 Thronau a choronau,
A theyrnasoedd byd,
Gwympant; ond yr Eglwys
Bery'n un o hyd:
Holl byrth uffern fethant
Syflyd Eglwys DDUW;
Cadarn yw'r addewid—
Gair ein IESU yw.
Awn yn mlaen, &c.

5 Awn yn mlaen, gan hyny,
Bobloedd dewch yn mla'n;
Unwch gyda'n byddin,
Unwch yn ein cân:
Boed i GRIST ein Brenhin
Fawredd, clod, a bri,
Ydyw'r gân dragwyddol,
Gaiff ein HARGLWYDD ni.
Awn yn mlaen, &c. Amen.

## 580

M. B.

1 Y PUR o galon oll,
Ymlawenhewch yn awr;
Gan chwyfio baner hardd y Groes,
Sef Croes eich Brenhin mawr.

2 Henafgwyr, tadau'r oes,
Ieuenctid siriol glân,
Gwyr a gwyryfon molwch Ef,
Mewn gorfoleddus gân.

3 Yn mlaen, yn mlaen a chwi,
A salmau, odlau mâd,
Trwy gysegredig lwybrau'r Tŷ,
A hoff gynteddau'n Tad.

4 Yn nghwmni seintiau'r llawr,
A chorau gwlad y gwawl,
Mewn hyfryd hwyl, a nefol nwyf,
Tywalltwn ffrwd o fawl.

5 Hosanna glir ei sain,
Ac Aleluia gref,
A'u hadlais, fel arogldarth per,
Esgyno hyd y nef.

6 Fel swn y moroedd maith,
Dyrchefwch foliant fry,
Yn hen emynau'r oesoedd gynt,
*A salmau'r tadau fu.*

7 Yn ddedwydd nos a dydd,
Dan ganu'n llon o hyd,
O foreu oes i henaint ewch,
Beth bynag fyddo'ch byd.

8 Eich baner chwyfiwch mwy,
Heb daflu arfau 'lawr,
Fel dewrion trwy y cyfnos du,
Nes gweno'r euraidd wawr.

9 Cyn hir daw'r daith i ben,
Ca'r pererinion fyw
Mewn hedd di-drai yn nhŷ eu Tad—
Jerusalem ein Duw.

10 Chwi bur o galon oll,
Gan hyny dewch yn awr,
I chwyfio baner hardd y Groes,
Sef Croes eich Brenhin mawr.

11 Gogoniant f'o i'r Ior,
Tragywyddol Frenhin yw,
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glan—
Yr un anfeidrol Dduw. Amen.

---

# Plant.

## 581

M. N. 6. 5.

1 CHWYFIA'R ddysglaer faner,
Gan gyfeirio fry
*Holl* fyddinoedd Seion,
*At* eu cartref cu.

Ydym, mewn diffaethwch,
  Fintai ddi-wahân,
A'n gweddïau'n gymmysg
  Gyda melys gân.
    Chwyfia'r ddysglaer faner,
      Gan gyfeirio fry
    Holl fyddinoedd Seion,
      At eu cartref cu.

2 IESU, IOR ac ARGLWYDD,
  Gwel Dy blant yn awr,
Wrth Dy draed o ddifri'
  'N moli'th Enw mawr:
Mynych, mynych aethom,
  Ar ddisperod fil:
Cadw ni, O Brynwr,
  Ar y llwybr cul.
    Chwyfia'r ddysglaer faner, &c.

3 Buost Tithau'n blentyn—
  Plentyn fel nyni:
Gwna ein mebyd ninau,
  Fel Dy febyd Di!
Pan y daw peryglon,
  I ba le y trown?
Atat Ti, ein Ceidwad,
  Atat Ti y ffown.
    Chwyfia'r ddysglaer faner, &c.

4 Tywys ni yn wastad
  Yn Dy ffordd ddi-goll;
Dysg ni i orchfygu
  *Ein* gelynion oll:

Dyro nawdd angylion,
Dan bob cwmwl mawr;
Tithau a'n gwaredo,
Yn yr olaf awr.
Chwyfia'r ddysglaer faner, &c.

5 Ninau, gyda'th seintiau,
A'th angylion glân,
Roddwn, ger Dy orsedd,
Glod ar gyson gân:
Wedi'r holl ryfeloedd,
Cawn yr hedd di-lyth:
IESU, yn ei degwch,
A foliannwn byth.
Chwyfia'r ddysglaer faner, &c,
Amen.

## 582 M. H.

1 NID ydym ni ond plantos gwan,
Heb feddu bri nac uchel 'stad;
Er hyn, ni garem wneyd ein rhan,
Dros IESU'n Brawd, a DUW ein Tad.

2 Eu bywyd drosto roddodd llu
Bendigaid y Gwirioniaid glân;
A'r saint a'r hen ferthyri cu,
Safasant drosto'n angerdd tân.

3 Y groes a wisgwn wisgent hwy,
A'u haddunedau allwn dd'weyd;
Nid marw raid, nac ymladd mwy—
*Pa beth* dros IESU allwn wneyd?

4 Pob plentyn fyno fyn'd i'r nef,
Rhaid wneyd ei ran o fewn, o faes;
O *fewn* rhaid marw erddo Ef,
O *faes* rhaid ymladd pechod cas.

5 Pan o waelodion calon cair
Y llid yn d'od, neu falchder mawr;
Pan f'o ar dafod arw air,
A dagrau nwyd yn llifo i lawr;

6 Pryd hyny gallwn attal dwrn,
A thewi y ddigofus lef:
Rhoi ateb mwyn fel IESU GRIST,
Ac ymladd brwydr drosto Ef.

7 Gwnawn wenu'n llon â serchog wedd,
At loewi trem yr aelwyd drist:
A chadwn dymher dda mewn hedd,
Er mwyn ein hanwyl IESU GRIST.

8 Nid oes un plentyn bach neu wan,
Heb ryw groes fach y rhaid ei dwyn,
A rhyw waith bach o serch neu fawl,
Y gall ei wneyd dros IESU mwyn. Amen.

## 83 M. N. 8. 7. 8. 7. 7. 7.

1 BU, yn mreiniol Ddinas Dafydd,
Unwaith feudy bach i'w gael,
Lle gorweddai mam a'i baban,
Mewn rhyw breseb-wely gwael;
Mair Fendigaid oedd y Fam,
*Iesu'r Baban bach* di-nam.

2 Daeth Efe i lawr o'r nefoedd,
Arglwydd mawr pob bod a byd;
Ond ystabl oedd ei loches,
Dim ond preseb oedd ei gryd:
Gyda'r tlawd, a'r gwael, a'r isel,
Trigai'r Arglwydd Dduw goruchel.

3 Trwy ei holl fabandod rhyfedd,
Anrhydeddai, ufuddhâi,
Carai, gwyliai'r Forwyn wylaidd—
Gorwedd yn ei breichiau ga'i:
Byddwn, blant, tra yn y byd,
Fel Efe, yn dda i gyd.

4 Iesu yw patrwm ein ieuenctid—
Tyfai'n raddol fel nyni;
Bychan oedd, a gwan, ac eiddil,
Gwenai, wylai ddagrau'n lli':
Cydymdeimla gyda'n tristedd,
Cyfranoga o'n gorfoledd.

Ac o'r diwedd cawn ei weled,
Trwy'i achubol gariad mawr,
Am mai'r anwyl Faban hwnw,
Ydyw Arglwydd nef a llawr:
A'i holl blant a gasgla Ef,
Ato i fyw o fewn y Nef. Amen.

## 584 M. C.

1 TU hwnt i furiau dinas bell,
Mae bryn o uchel fri,
*Lle y* croeshoeliwyd Iesu mwyn,
*Fu* farw i'n cadw ni.

2 Nis gallwn ddweyd—nis gwyddom ddim,
Faint oedd ei boenau trist;
Ond credwn hyn, mai drosom ni,
Y dyoddefodd CRIST.

3 Bu farw i gael maddeuant llawn,
I'r gwaethaf rai a gaed;
Bu farw i'n dwyn i'r nefoedd wen,
Trwy rin ei Ddwyfol Waed.

4 Nid oedd gwaed arall dalai bris
Pechodau mor ddi-ri';
Efe yn unig allai wneyd
Y nef yn rhydd i ni.

5 Mor anwyl anwyl carodd ni,
Caiff Yntau'n serch i gyd;
Ac ymddiriedwn yn ei Waed,
Gan wneyd ei waith o hyd. Amen.

## 85 M. N. 7. 6.

1 DEWCH, cenwch blant yn llawen,
Eich Aleluia llâd;
Dyrchefwch eich hosanna
I IESU'r Brenhin mâd:
Chwi, fechgyn llon, cydgenwch
Eich clau emynau mân;
A chwithau, fwyn wyryfon,
*Fo'n gyson* gyda'r gân.

2 Mor dda yw clywed bechgyn
Yn llon emynu'n llu!
A hwythau y genethod
Yn moli'u Brenhin cu!
Gogoniant, iachawdwriaeth,
A hedd, yw CRIST ein DUW;
I faban, bachgen, geneth,
Yr unig Brynwr yw.

3 Yn gryf yn NGHRIST bo'r bechgyn,
Gan weithio drosto'n daer;
Bu IESU gyda Joseph,
Yn dilyn gwaith y saer:
Forwynion, cerwch IESU,
Mab mwyn y Forwyn Fair,
A'ch bywyd fyddo'n burdeb,
A'ch gwyneb ar y Gair.

4 Ar balmant aur y nefoedd,
Cyn hir fe chwery'r plant,
Ac yn y claer drigfanau,
Pob un a dery ei dant:
O GRIST, gwna'th blant yn gyfran
O'r fuddug dryfa lân,
A aiff trwy'r pyrth tryloewon,
I ganu'r fythol gân. Amen.

## 586

M. N. 6. 5.

1 IESU, mewn gogoniant,
Gostwng glust yn awr;
Clyw Dy blant yn canu'th
Foliant ar y llawr.

2 Er mor sanctaidd ydwyt
Frenhin mawr y nef;
Ti ymgrymi i wrando
Mawl ein llafar lef.

3 Eiddil blant sydd yma,
Am ymdroi o dre';
Cadw ni, O ARGLWYDD,
Ar y ffordd i'r Ne'.

4 Gwared ni rhag pechu,
Dal ni nos a dydd;
Tŷn ni â Dy gariad,
Rhag pob drwg yn rhydd.

5 Yna, pan y geilw
IESU arnom fry;
Llawen fydd ein hateb,
"Deuwn, Brynwr cu." Amen.

## 87

M. N. 8. 7. 4.

1 GRASOL Geidwad, addfwyn Fugail,
Plant sy'n anwyl genyt Ti;
Casgla ni â'th freichiau tyner,
Yn Dy fynwes cluda ni
'N dyner, addfwyn, a diogel,
Heb un eisiau—dyna'n cri.

2 Anwyl Fugail, paid a'n goddef
*Byth i ado'th* gorlan glyd;

Gwên Dy gariad hoff a'n cadwo
Ar y llwybr cul o hyd:
Arwain ni i ddyogelwch,
Fel na'n baedder gan y byd.

3 Golcha bechod o'n calonau,
Gyda llif Dy gariad rhad,
Llif a ddaeth o'th ystlys, Iesu,
Cymmysg lif o ddw'r a gwaed:
Yna arwain ni at ffrydiau,
Dolau Dwyfol nefol wlad.

4 Dysga ni â'th eiriau sanctaidd,
Pura ein hysprydoedd mau;
Rhin Dy gariad a'n cymhello
I geisio'r gwir, osgoi y gau,
Fel y profo'th faich yn ysgafn,
Ac mai esmwyth yw Dy iau.

5 Gan in' ddysgu'n floesg i ganu
Gyda'th blant yn ngwlad y llawr,
Mynem gynyg, mewn di-dwylledd,
Offrwm diolch pur yn awr;
Yna, gyda saint gogoniant,
Canwn byth i'n Brenhin Mawr. A

## 588 M. N. 6. 5. 6. 5. D.

1 IESU Grist ein Ceidwad,
Buost blentyn mwyn,
Trwy Dy oes yn wastad,
Ufudd, gŵyl, di-gŵyn;

Cerdded hyd Dy lwybrau,
  Fel Dy ŵyn, wnawn ni,
Heb lwfrhau gan ofnau,
  Tra'n Dy ddilyn Di.

2 Am yr holl fendithion,
  Roddwyd ini'n rhad—
Mam â'i gwenau tirion,
  Gofal gwarchol tad;
Am garenydd serchus;
  Am ein dyddiol fwyd;
Am ein dysgu'n weddus;
  Am farwhau ein nwyd;

3 Am yr hyn a roddi
  I Dy weinion ŵyn;
Am yr hyn nis rhoddi—
  Hyny er ein mwyn;
Am Dy holl rasusau,
  Ini ar y llawr,
Nes y cawn Dy wenau,
  Mewn gogoniant mawr;

4 Codwn ein calonau,
  Atat fel ein Tad,
Gan barhau'th foliannau,
  Mewn emynau mâd:
Gan i'th Ddwyfol gariad
  Ddenu'th blant o'r byd,
Cadw ni, O Geidwad,
  Yn Dy law o hyd.

5 Bydded Dy angylion
Yn ein gwylio'n gu;
Rho Dy fynwes dirion,
Rhag blin dywydd du;
Atat Ti i'r gwynfyd
Casgla ni i gyd;
Tithau, DAD, ac YSPRYD
Moli wnawn o hyd. Amen.

## 589

M. N. 8. 7.

1 DYRO'TH fendith, addfwyn IESU,
I Dy blant sydd yma'n awr,
Cymer hwynt, sy'n Dy gyffesu,
Cymer, mewn anwyldeb mawr.

2 Boent fel Joseph, llawn tiriondeb,
Pur ac ufudd dan bob croes;
Ac fel Dafydd mewn ffyddlondeb,
Dewr a sicr hyd derfyn oes.

3 Geidwad, buost, mewn tiriondeb,
Blentyn bach, a Mab y Dyn;
Arwain hwythau mewn uniondeb,
Nes d'od fel Tydi Dy Hun.

4 Dwg Dy ŵyn, pan fo'nt flinedig,
Yn Dy freichiau, yn Dy gôl,
Trwy yr anial cras sychedig,
I'r orphwysfa sydd yn ol.

5 Drostynt taena'th aur adenydd,
Oddi fry, O YSPRYD GLAN,
Arwain hwy i fro'r llawenydd,
Hedd a chariad, clod a chân. Amen.

## 590 M. H.

1 O ARGLWYDD sanctaidd fu'n ddinam,
Y gwylaidd Un mewn gwylaidd d؟ ;
Dy benaf ddeddf ewyllys mam,
A'th dlysaf ras—ufudd-dod cu.

2 Pob plentyn ar Dy Enw mawr,
A rodio'th lwybrau glân trwy'r byd,
Gan ofni cyffwrdd drwg bob awr,
Ac ufuddhau, fel Ti, o hyd.

3 Na sycher gwlith yr YSPRYD GLAN,
Gan wres difäol drygfyd cas ;
Na phoethwynt pechod ddiffodd tân,
Nac eiddil fflam ddirgrynol gras

4 I'th freichiau casgla'th ŵyn di-nam,
Ac i Dy gôl yn braidd di-lyth ;
Ac, ARGLWYDD, cadw hwy rhag cam,
Nes caffont genyt orphwys byth.

5 Fel hyn, tra'n aros ar y llawr,
Am enyd fer, fel Ti Dy Hun ;
Cynyddant mewn doethineb mawr,
A ffafr fendigaid Duw a dyn. Amen

## 591 M. N. 7. 6.

1 SON am y plant rhinweddol,
O fewn y Beibl cair,
O Samuel y prophwyd,
*Hyd* anwyl Faban Mair ;

Yn more'u hoes rhodiasant
Yn ufudd gyda Duw;
Cadwasant lwybr bywyd,
Tra buont yma'n byw.

2 Yr Iesu a groeshoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
Fu gynt yn blentyn egwan,
Mor fychan a myfi;
Holl ddeddf ei Dad a gadwodd,
O'i le ni ŵyrodd gam,
A rhoddodd, yn ddibechod,
Ufudd-dod pur i'w Fam.

3 Plant bychain, pan y gwelsant,
Ogoniant Brenhin ne',
Hosanna gyd-seiniasant,
O foliant iddo 'Fe;
Yn awr ymroddaf finau,
Ar fore ddydd y daith.
Trwy gymhorth Iesu hawddgar,
Yn gynar at y gwaith. Amen,

## 592 M. N. 7. 6.

### Cymdeithasau Eglwysig.

1 DUW byw y byw gynhauaf.
Sy'n cànu'r meusydd draw,
Lle casgla engyl lengoedd,
Gnwd eur-grawn ddydd a ddaw:

Derbynia Di ein dwylaw,
  Pob serch, pob ynni sy',
Er mwyn prysuro, ARGLWYDD,
  Dy deyrnas oddi fry.

2 Fel gweithwyr yn Dy Winllan,
  B'om ffyddlon weision ffydd,
I ddwyn y baich osodaist,
  Trwy gydol wres y dydd:
Dim cyflog ni ofynwn,
  Pan elwir ni i dref,
Ond cyfranogiad llafur
  Prysuro Teyrnas Nef.

3 O disgyn, YSPRYD SANCTAIDD,
  A chwal ein gwyll â gwawl;
Gwisg ni yn nifrycheulyd
  Wisg gânaid CRIST a'i hawl:
Bydd gyda ni'n Dy Deml
  Sancteiddlan, pan o'th flaen;
A'n hanwyl wlad bendithia,
  A'th deulu oll ar daen.

4 DUW DAD, gwna Di'th fad breswyl,
  DUW FAB, gwna'th breswyl Di,
A Thithau, YSPRYD SANCTAIDD,
  Un DRINDOD, gyda ni:
Brenhinol offeiriadaeth,
  Rho in' i'th foli'n fâd;
A llanwer ni â'th lawnder,
  *Byth bythol*, nefol DAD! Amen.

# 593

LITANI RHAI BYCHAIN CRIST.

1 EDRYCH, Nefol DAD, i lawr,
Yn Dy ras a'th gariad mawr,
Ar Dy fychain blant yn awr,
Gwrando, DAD, a gwared ni;

2 IESU, bur, ddihalog UN,
Fuost blentyn ar ein llun,
A derbyniaist blant Dy Hun,
ARGLWYDD IESU, gwared ni!

3 YSPRYD GLAN, o'r nefoedd fry,
Tyr'd i lawr, gwna yma'th dŷ;
Llanwa'n bron â chariad cu;
YSPRYD GLAN, O gwared ni!

4 DAD, a MAB, ac YSPRYD GLAN,
DRINDOD SANCTAIDD, ddi-wahân,
Llanwa'n bron â nefol dân—
DRI yn UN, O gwared ni!

5 Trwy Dy dyner gariad pur—
Cariad ddaliodd dan bob cur—
Gwarth, ac ing, a'r hoelion dur—
ARGLWYDD IESU, gwared ni!

6 Pan f'o diafol, cnawd, a byd,
Yn ymdrechu denu'n bryd,
Boed ein gweddi ni bob pryd,
ARGLWYDD IESU, gwared ni!

7 Pan y'n temtiant ni yn groes
I sancteiddrwydd purdeb moes,
Dysg ni i lefain drwy ein hoes,
ARGLWYDD IESU, gwared ni!

8 Pan rydd angeu, brenhin braw,
Arnom ni ei fferllyd law,
Ac yn nydd y Farn a ddaw,
ARGLWYDD IESU, gwared ni!

9 Pan y'n gelwi oll o'r bedd,
Par in' godi ar Dy wedd,
I fwynhau tragwyddol hedd;
ARGLWYDD IESU, gwared ni! Amen.

---

# 94 Litaniau.

AR EDIFEIRWCH.

1 CRWYDRO'R ydym, IESU mawr.
Llwybrau pechod ar y llawr,
Heb oleuni nefol wawr:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

2 Gwaethu mae'r tywyllwch du,
Tyr'd yn nes Iachawdwr cu,
Dwg ni i mewn i'th nefol dŷ:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

Ti yw'n 'siampl drwy ein hoes,
Nerth wrth angen i ni moes,
Dal ni *dan bob* awel groes:
*ARGLWYDD* grasol clyw ni

4 Frol a gweiniaid llesg a phrudd,
Ydym ni, O nertha'n ffydd,
Ini'n gymhorth parod bydd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

5 Nertha ni i lwyr gasau
Pob drwg dyb a gweithred gau,
Ac yn D'YSPRYD ymgryfhau:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

6 Gwna ni'n ufudd isel-fryd,
Gwyliadwrus rhag holl hud
Maglau diafol, cnawd, a byd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

7 Mathra Satan dan ein traed,
Golcha'n gwisgoedd yn Dy Waed,
Fel yr eira gwynaf gaed:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

8 Arwain ni trwy'r anial maith,
Nertha ni i wneyd Dy waith,
A chysura ni ar y daith:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

9 Dangos i ni wagedd byd,
Twyll ei wên, a swyn ei hud;
Dwg ni i gefnu arno i gyd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

10 Dan gyfyngder ing, a loes,
Dysg ni i gofio'r Hwn a roes
Ei Hun drosom ar y groes:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

11 Deffro ynom deimlad byw,
Cariad gwresog at ein Duw,
A phur serch at ddynol-ryw:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

12 Ynom lladd bob hunan gwael,
Chwant y cnawd a'i wŷn difael,
Dyro i ni yspryd hael:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

13 Tarf bob meddwl drwg o'n bron,
Ymlid, chwal, euogrwydd hon,
Llanw hi a'th wenau llon:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

14 Tywallt, yn yr anial cras,
Arnom felys ffrydiau gras,
Fel yr yfom gyda blas—
ARGLWYDD grasol clyw ni.

15 Pura, ysprydola'n bryd,
Dyrcha'n henaid uwch y byd,
Heibio'th groes i'r nef o hyd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

16 Nes uwch pechod, cur, a phoen,
Cyrhaedd wnawn mewn hedd a hoen,
Adref i foliannu'r OEN:
ARGLWYDD grasol clyw ni: Amen.

## 595

### AR YR EGLWYS.

1 JESU, *gyda'th* Eglwys bydd,
*Yn ei dal o* ddydd i ddydd.

Dan bob treial nertha'i ffydd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

2 Dal hi'n mreichiau'th gariad cu,
Bydd yn gadarn Dwr o'i thu,
Cynal hi'n mhob trallod du:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

3 Bydded bur ei dysg a'i moes,
Cymhorth, nertha hi dan loes
Gan ei denu at Dy groes:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

4 Arwain hi â niwl a thân,
Cadw'i gwisg a'i llwybr yn lân,
Llanw'i genau hi â chân:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

5 Boed ei llais yn eglur rydd,
I bregethu'r Farn a fydd,
A'r Iachawdwr ini sydd:
ARGLWYDD grasol clyw di.

6 Cyfod ei hadwyau hi,
Dwg Dy Deml i newydd fri,
Yno'th wên amlyga Di:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

7 Datod rwymau'i gwddf yn rhydd,
Lladd ymryson, nertha'i ffydd,
*Moes* Dy hedd o ddydd i ddydd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

8 Cymod ein dadleuon chwith,
Plana gariad yn ein plith,
Diosg ni o bob twyll a rhith:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

9 Gostwng dan ein traed o hyd,
Chwantau'r cnawd, a swyn y byd,
Dichell Satan a'i holl hud:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

10 Mewn athrawiaeth bydded un,
Un mewn cariad yn gytun,
Un mewn ffydd yn NGHRIST ei Hun:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

11 Arwain b'o y dall i dŷ,
Ceisio y 'colledig lu,
Rhwymo'r ysig galon dru:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

12 Cadw ar ei hallor lân
Byth i losgi'r nefol dân,
Cadw'n fyw ei melys gân:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

13 Moes i'w holl Offeiriaid aidd;
Porthi boent, a gwylio'r praidd,
Cadw, gwarchod rhag pob blaidd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

14 Boed eu 'siampl un â'u hiaith,
Boed eu gweddi gyda'u gwaith,
Yn blaenori'r praidd trwy'u taith:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

15 Pura'th Eglwys, sancteiddhâ,
Chwal ei hofn, ei ffydd cryfhâ,
A'i huwchafiaeth lawn nesâ:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

16 Yn ei hympryd nertha hon,
A chysura'i hathrist fron,
Hyd nes daw'r Priodfab llon:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

17 Gwna hi'n gymhwys, hardd ei gwedd,
I fwynhau tragwyddol hedd,
Byth wrth fwrdd y nefol wledd:
ARGLWYDD grasol clyw ni.

18 DRINDOD SANCTAIDD, ddiwahân,
DAD, a MAB, ac YSPRYD GLAN,
Yn ein gweddi, mawl, a'n cân:
ARGLWYDD grasol clyw ni. Amen.

# 596

AR FYWYD CRIST.

1 TI a aned gynt o fru
Y Fendigaid Forwyn gu,
Ti addolai'r nefol lu:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

2 Ti fu'n Faban gwan ei gri,
Ti enwaedwyd drosom ni,
*Ti fedyddiwyd yn y lli*:
*Clyw* ni, ARGLWYDD IESU.

3 Ti a demtiwyd ar y llawr,
Yn yr erchyll anial mawr,
Cynhorthwya ninau 'nawr:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

4 Ti ddirmygwyd yn y byd,
Brofaist ein gwendidau i gyd,
Cydymdeimla ar bob pryd:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

5 Ti gystuddiwyd drwy Dy oes,
Ti oddefaist chwerw loes,
Ti a gwympaist dan y groes:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

6 Ti a ddygaist ing a chur,
Coron ddrain a'r hoelion dur,
Gollaist waed Dy galon bur:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

7 Ti, cyn it' ogwyddo'th ben,
Lefaist seithwaith ar y pren—
Holltai'r graig, a rhwygai'r llen.
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

8 Ti a wnaethost daliad llawn
Ar Galfaria un prydnawn,
Trwy Dy werthfawr Waed yn Iawn:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

9 Ti fu'n farw, gwelw'th wedd
Ti a ddodwyd yn y bedd,
Fel yr hunem ni mewn hedd:
*Clyw* ni, ARGLWYDD IESU.

10 Ti, ar fore'r trydydd dydd,
Ddaeth o rwymau angeu'n rhydd,
Pentywysog Mawr ein ffydd:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

11 Ti ddyrchefaist trwy fawrhâd
I ororau'r nefol wlad,
I deyrngadair DUW y TAD:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

12 Ti a ddaw i farnu'r byd,
Ar Dy orsedd wen ei phryd,
Ac i ddeffro'r meirw i gyd:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU.

13 Yn y dydd ofnadwy ddaw,
Dod ni ar Dy ddeheu-law,
Dwg ni oll i'r nefoedd draw:
Clyw ni, ARGLWYDD IESU. Amen.

---

J. HADDON & CO., MUSIC AND GENERAL PRINTERS,
9, BOUVERIE STREET.

# TAFLEN

**langos rhif yr Hymn, a rhif y dôn briodol yn nodiant y Sol Fa.**

| Sol Fa. | Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol Fa. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 166 | 34 | 2 | 67 | 126 | 100 | 156 |
| 166 | 35 | 107 | 68 | 30 | 101 | 110 |
| 128 | 36 | 120 | 69 | 30 | 102 | 148 |
| 128 | 37 | 120 | 70 | 11 | 103 | 148 |
| 117 | 38 | 34 | 71 | 11 | 104 | 49 |
| 165 | 39 | 34 | 72 | 46 | 105 | 49 |
| 165 | 40 | 34 | 73 | 46 | 106 | 78 |
| 183 | 41 | 127 | 74 | 63 | 107 | 178 |
| 110 | 42 | 127 | 75 | 63 | 108 | 58 |
| 27 | 43 | 51 | 76 | 21 | 109 | 188 |
| 27 | 44 | 185 | 77 | 21 | 110 | 188 |
| 27 | 45 | 185 | 78 | 119 | 111 | 97 |
| 141 | 46 | 24 | 79 | 119 | 112 | 35 |
| 141 | 47 | 24 | 80 | 113 | 113 | 122 |
| 141 | 48 | 135 | 81 | 113 | 114 | 122 |
| 141 | 49 | 135 | 82 | 113 | 115 | 197 |
| 7 | 50 | 140 | 83 | 164 | 116 | 101 |
| 7 | 51 | 140 | 84 | 164 | 117 | 101 |
| 192 | 52 | 140 | 85 | 164 | 118 | 22 |
| 1 | 53 | 61 | 86 | 79 | 119 | 22 |
| 48 | 54 | 61 | 87 | 79 | 120 | 175 |
| 139 | 55 | 61 | 88 | 105 | 121 | 154 |
| 83 | 56 | 61 | 89 | 105 | 122 | 161 |
| 88 | 57 | 82 | 90 | 124 | 123 | 50 |
| 176 | 58 | 170 | 91 | 124 | 124 | 13 |
| 57 | 59 | 170 | 92 | 124 | 125 | 13 |
| 129 | 60 | 44 | 93 | 153 | 126 | 187 |
| 54 | 61 | 44 | 94 | 153 | 127 | 36 |
| 54 | 62 | 186 | 95 | 132 | 128 | 36 |
| 29 | 63 | 186 | 96 | 132 | 129 | 106 |
| 72 | 64 | 118 | 97 | 23 | 130 | 115 |
| 158 | 65 | 118 | 98 | 99 | 131 | 8 |
| 2 | 66 | 91 | 99 | 99 | 132 | 8 |

| Hy. | Sol Fa | Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol Fa. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 133 | 159 | 172 | 39 | 211 | 52 | 250 | 13 |
| 134 | 20 | 173 | 77 | 212 | 59 | 251 | 48 |
| 135 | 20 | 174 | 77 | 213 | 59 | 252 | 48 |
| 136 | 193 | 175 | 3 | 214 | 59 | 253 | 188 |
| 137 | 47 | 176 | 86 | 215 | 9 | 254 | 188 |
| 138 | 47 | 177 | 146 | 216 | 9 | 255 | 188 |
| 139 | 47 | 178 | 146 | 217 | 130 | 256 | 86 |
| 140 | 138 | 179 | 33 | 218 | 119 | 257 | 86 |
| 141 | 138 | 180 | 33 | 219 | 119 | 258 | 90 |
| 142 | 174 | 181 | 33 | 220 | 2 | 259 | 90 |
| 143 | 174 | 182 | 171 | 221 | 2 | 260 | 139 |
| 144 | 174 | 183 | 171 | 222 | 157 | 261 | 139 |
| 145 | 64 | 184 | 171 | 223 | 175 | 262 | 44 |
| 146 | 64 | 185 | 25 | 224 | 175 | 263 | 53 |
| 147 | 6 | 186 | 25 | 225 | 175 | 264 | 129 |
| 148 | 4 | 187 | 25 | 226 | 75 | 265 | 129 |
| 149 | 81 | 188 | 55 | 227 | 75 | 266 | 129 |
| 150 | 85 | 189 | 55 | 228 | 155 | 267 | 93 |
| 151 | 182 | 190 | 55 | 229 | 31 | 268 | 93 |
| 152 | 67 | 191 | 55 | 230 | 31 | 269 | 74 |
| 153 | 67 | 192 | 102 | 231 | 31 | 270 | 74 |
| 154 | 67 | 193 | 102 | 232 | 143 | 271 | 174 |
| 155 | 128 | 194 | 87 | 233 | 143 | 272 | 36 |
| 156 | 128 | 195 | 162 | 234 | 143 | 273 | 36 |
| 157 | 128 | 196 | 66 | 235 | 177 | 274 | 73 |
| 158 | 32 | 197 | 66 | 236 | 177 | 275 | 73 |
| 159 | 32 | 198 | 104 | 237 | 3 | 276 | 73 |
| 160 | 98 | 199 | 104 | 238 | 3 | 277 | 168 |
| 161 | 173 | 200 | 76 | 239 | 109 | 278 | 168 |
| 162 | 25 | 201 | 76 | 240 | 109 | 279 | 168 |
| 163 | 25 | 202 | 38 | 241 | 127 | 280 | 190 |
| 164 | 25 | 203 | 38 | 242 | 127 | 281 | 43 |
| 165 | 45 | 204 | 38 | 243 | 127 | 282 | 43 |
| 166 | 45 | 205 | 89 | 244 | 166 | 283 | 56 |
| 167 | 45 | 206 | 150 | 245 | 166 | 284 | 56 |
| 168 | 45 | 207 | 169 | 246 | 166 | 285 | 33 |
| 169 | 185 | 208 | 169 | 247 | 194 | 286 | 33 |
| 170 | 185 | 209 | 169 | 248 | 100 | 287 | 33 |
| 171 | 39 | 210 | 52 | 249 | 100 | 288 | 180 |

| y. | | Sol Fa. | Hy. | | Sol Fa. | Hy. | | Sol Fa. | Hy. | | Sol Fa. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 9 | ... | 79 | 328 | ... | 15 | 367 | ... | 133 | 406 | ... | 41 |
| 0 | ... | 79 | 329 | ... | 84 | 368 | ... | 94 | 407 | ... | 101 |
| 1 | ... | 196 | 330 | ... | 142 | 369 | ... | 94 | 408 | ... | 62 |
| 2 | ... | 120 | 331 | ... | 142 | 370 | ... | 163 | 409 | ... | 120 |
| 3 | ... | 120 | 332 | ... | 142 | 371 | ... | 163 | 410 | ... | 120 |
| 4 | ... | 180 | 333 | ... | 142 | 372 | ... | 118 | 411 | ... | 7 |
| 5 | ... | 180 | 334 | ... | 68 | 373 | ... | 118 | 412 | ... | 7 |
| 6 | ... | 113 | 335 | ... | 68 | 374 | ... | 193 | 413 | ... | 7 |
| 7 | ... | 136 | 336 | ... | 68 | 375 | ... | 153 | 414 | ... | 160 |
| 8 | ... | 12 | 337 | ... | 154 | 376 | ... | 153 | 415 | ... | 160 |
| 9 | ... | 12 | 338 | ... | 154 | 377 | ... | 17 | 416 | ... | 108 |
| 0 | ... | 12 | 339 | ... | 40 | 378 | ... | 17 | 417 | ... | 108 |
| 1 | ... | 184 | 340 | ... | 40 | 379 | ... | 176 | 418 | ... | 26 |
| 2 | ... | 184 | 341 | ... | 164 | 380 | ... | 37 | 419 | ... | 111 |
| 3 | ... | 149 | 342 | ... | 164 | 381 | ... | 37 | 420 | ... | 111 |
| 4 | ... | 149 | 343 | ... | 125 | 382 | ... | 37 | 421 | ... | 151 |
| 5 | ... | 65 | 344 | ... | 125 | 383 | ... | 84 | 422 | ... | 151 |
| 6 | ... | 65 | 345 | ... | 125 | 384 | ... | 84 | 423 | ... | 168 |
| 7 | ... | 1 | 346 | ... | 103 | 385 | ... | 84 | 424 | ... | 134 |
| 8 | ... | 140 | 347 | ... | 181 | 386 | ... | 138 | 425 | ... | 188 |
| 9 | ... | 140 | 348 | ... | 181 | 387 | ... | 138 | 426 | ... | 188 |
| 0 | ... | 169 | 349 | ... | 155 | 388 | ... | 11 | 427 | ... | 190 |
| 1 | ... | 169 | 350 | ... | 145 | 389 | ... | 11 | 428 | ... | 190 |
| 2 | ... | 192 | 351 | ... | 145 | 390 | ... | 57 | 429 | ... | 97 |
| 3 | ... | 125 | 352 | ... | 145 | 391 | ... | 72 | 430 | ... | 97 |
| 4 | ... | 125 | 353 | ... | 112 | 392 | ... | 195 | 431 | ... | 54 |
| 5 | ... | 51 | 354 | ... | 112 | 393 | ... | 99 | 432 | ... | 4 |
| 6 | ... | 183 | 355 | ... | 49 | 394 | ... | 99 | 433 | ... | 4 |
| 7 | ... | 183 | 356 | ... | 49 | 395 | ... | 178 | 434 | ... | 77 |
| 8 | ... | 55 | 357 | ... | 49 | 396 | ... | 178 | 435 | ... | 8 |
| 9 | ... | 55 | 358 | ... | 24 | 397 | ... | 167 | 436 | ... | 69 |
| 0 | ... | 6 | 359 | ... | 24 | 398 | ... | 167 | 437 | ... | 69 |
| 1 | ... | 116 | 360 | ... | 24 | 399 | ... | 176 | 438 | ... | 135 |
| 2 | ... | 45 | 361 | ... | 114 | 400 | ... | 176 | 439 | ... | 135 |
| 3 | ... | 89 | 362 | ... | 123 | 401 | ... | 137 | 440 | ... | 14 |
| 4 | ... | 134 | 363 | ... | 123 | 402 | ... | 137 | 441 | ... | 14 |
| 5 | ... | 134 | 364 | ... | 123 | 403 | ... | 137 | 442 | ... | 14 |
| 6 | ... | *50* | *365* | ... | 133 | 404 | ... | 41 | 443 | ... | 42 |
| 7 | ... | *15* | *366* | ... | 133 | 405 | ... | 41 | 444 | ... | [illegible] |

| Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol Fa | Hy. | Sol Fa. | Hy. | Sol F[illegible] |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 445 | ... 98 | 484 | ... 60 | 521 | ... 256 | 558 | ... 2[illegible] |
| 446 | ... 98 | 485 | ... 60 | 522 | ... 271 | 559 | ... 2[illegible] |
| 447 | ... 172 | 486 | ... 173 | 523 | ... 208 | 560 | ... 2[illegible] |
| 448 | ... 136 | 487 | ... 173 | 524 | ... 200 | 561 | ... 2[illegible] |
| 449 | ... 171 | 488 | ... 15 | 525 | ... 224 | 562 | ... 2[illegible] |
| 450 | ... 53 | 489 | ... 18 | 526 | ... 244 | 563 | ... 2[illegible] |
| 451 | ... 180 | 490 | ... 92 | 527 | ... 206 | 564 | ... 2[illegible] |
| 452 | ... 20 | 491 | ... 71 | 528 | ... 206 | 565 | ... 2[illegible] |
| 453 | ... 146 | 492 | ... 71 | 529 | ... 247 | 566 | ... 2[illegible] |
| 454 | ... 21 | 493 | ...5 & 10 | 530 | ... 212 | 567 | ... 2[illegible] |
| 455 | ... 21 | 494 | ... 122 | 531 | ... 212 | 568 | ... 2[illegible] |
| 456 | ... 28 | 495 | ... 122 | 532 | ... 260 | 569 | ... 2[illegible] |
| 457 | ... 28 | 496 | ... 170 | 533 | ... 263 | 570 | ... 2[illegible] |
| 458 | ... 28 | 497 | ... 170 | 534 | ... 241 | 571 | ... 2[illegible] |
| 459 | ... 131 | 498 | ... 147 | 535 | ... 270 | 572 | ... 2[illegible] |
| 460 | ... 131 | | 144 | 536 | ... 216 | 573 | ... 2[illegible] |
| 461 | ... 10 | 499 | ... 147 | 537 | ... 220 | 574 | ... 2[illegible] |
| 462 | ... 16 | | 144 | 538 | ... 246 | 575 | ... 2[illegible] |
| 463 | ... 16 | 500 | ... 152 | 539 | ... 214 | 576 | ... 2[illegible] |
| 464 | ... 16 | 501 | ... 152 | 540 | ... 280 | 577 | ... 2[illegible] |
| 465 | ... 70 | 502 | ... 137 | 541 | ... 261 | 578 | ... 2[illegible] |
| 466 | ... 70 | 503 | ... 128 | | 262 | 579 | ... 2[illegible] |
| 467 | ... 191 | 504 | ... 116 | | 264 | 580 | ... 2[illegible] |
| 468 | ... 121 | 505 | ... 250 | 542 | ... 202 | 581 | ... 2[illegible] |
| 469 | ... 121 | 506 | ... 252 | 543 | ... 223 | 582 | ... 1[illegible] |
| 470 | ... 121 | 507 | ... 232 | 544 | ... 281 | 583 | ... 2[illegible] |
| 471 | ... 121 | 508 | ... 215 | 545 | ... 253 | 584 | ... 2[illegible] |
| 472 | ... 121 | 509 | ... 222 | 546 | ... 218 | 585 | ... 2[illegible] |
| 473 | ... 121 | 510 | ... 267 | 547 | ... 279 | 586 | ... 2[illegible] |
| 474 | ... 80 | 511 | ... 277 | 548 | ... 265 | 587 | ... 2[illegible] |
| 475 | ... 179 | 512 | ... 257 | 549 | ... 265 | 588 | ... 2[illegible] |
| 476 | ... 179 | 513 | ... 257 | 550 | ... 258 | 589 | ... 2[illegible] |
| 477 | ... 163 | 514 | ... 201 | 551 | ... 249 | 590 | ... 1[illegible] |
| 478 | ... 163 | 515 | ... 268 | 552 | ... 251 | 591 | ... 2[illegible] |
| 479 | ... 19 | 516 | ... 259 | 553 | ... 231 | 592 | ... 2[illegible] |
| 480 | ... 19 | 517 | ... 221 | 554 | ... 219 | 593 | ... 2[illegible] |
| 481 | ... 19 | 518 | ... 269 | 555 | ... 228 | 594 | ... 2[illegible] |
| 482 | ... 60 | 519 | ... 235 | 556 | ... 217 | 595 | ... [illegible] |
| 483 | ... 60 | 520 | ... 272 | 557 | ... 230 | 596 | ... [illegible] |

